# COLYGIAD YSGRYTHYROL

AR

# GYFIAWNHAD PECHADUR;

SEF,

# TRAETHAWD,

YN DANGOS

Y FFORDD Y MAE DUW, YN EI RAS ANFEIDROL,

YN

CYFIAWNHAU PECHADURIAID,

YN UNOL

A CHYFIAWNDER EI NATUR, EI UNIONDEB FEL BARNWR,

AC

*A Phurdeb ac Anghyfnewidioldeb ei Gyfraith.*



GAN JOHN ELIAS.

"A hwy wedi eu cyfiawnhau yn *rhad* trwy ei *ras* ef." *Rhuf.* 3. 24.
"Trwy *ufudd-dod* un y gwneir llawer yn gyfiawn." *Rhuf.* 5. 19.
"Y mae Duw yn *cyfrif* cyfiawnder iddo." *Rhuf.* 4. 6.
"Mal *trwy ffydd* y cyfiawnheir dyn." *Rhuf.* 3. 28.

BALA:

ARGRAFFEDIG DROS YR AWDWR GAN R. SAUNDERSON;
AR WERTH HEFYD GAN
T. GEE, DINBYCH; J. PARRY, CAERLLEON;
A LLYFR-WERTHWYR ERAILL.

1821.

# *AT Y CYMRY.*

*Fy Nghydwladwyr anwyl a hoff,*

Yr ydwyf yn cyflwyno y Traethawd canlynol, ar GYFIAWNHAD PECHADUR GER BRON DUW, i'ch dwylaw; gan ddeisyf arnoch ei ddarllen yn fanwl ac yn ystyriol, a myfyrio yn ddwys a difrifol ar yr hyn a drinir ynddo. Nid ydwyf yn edrych arnaf fy hun yn addas i gyflwyno un math o Draethawd i'ch sylw, llawer llai Traethawd ar wirionedd mor fawr ei bwys a'r gwirionedd am y ffordd i gyfiawnhau dyn gyd â Duw. Bu, ac y mae hyn yn bwysig a difrifol ar fy meddwl, mewn perthynas i mi fy hun, a golwg ar drefn cyfiawnhau, fel y ceisiais ei ddangos i chwi yn y Traethawd *canlynol*, a roddodd dawelwch i fy enaid euog tlawd...... Yr ydwyf yn meddwl, mai fy niben yn hyn o lafur ydyw, amcanu at ogoneddu Duw, a gwneuthur lleshad i fy nghyd-genedl. Yr ydwyf yn golygu, fod holl briodoliaethau Duw yn cyd-ymddisgleirio yn ogoneddus yn ei ffordd yn cyfiawnhau pechadur; am hynny, mae ceisio dangos y drefn hon yn tueddu i ogoneddu Duw. Yr ydwyf yn meddwl hefyd, na all un peth fod yn fwy buddiol i bechadur, na gwybod y ffordd i fod yn gyfiawn gyd â Duw. Yr ydwyf yn meddwl fod yn annichonadwy cael golwg cywir ar gyfiawnhad, heb gael golwg ysprydol ar fawredd a phurdeb Duw—purdeb, ysprydolrwydd, ac anghyfnewidioldeb y ddeddf foesol—a chyflwr colledig pechadur yn ei hwyneb. Pan ystyriom y pethau hynny, bydd yn amlwg, na allai un achos cynhyrfiol fod i Dduw gyfiawnhau pechadur, ond ei ras anfeidrol ei hun; na chyfiawnder i fod yn gyfiawn ger bron Duw ynddo, ond ufudd-dod Iesu y Mechnïydd, yn cael ei gyfrif gan Dduw, a'i dderbyn gan y pechadur *trwy ffydd gweithrediad Duw.*

## AT Y CYMRY.

Ymdrechais lawer i geisio dangos pethau yn oleu, a hyd y gellais yn ymadroddion yr Ysgrythyrau Sanctaidd. Ceisiais gymmeryd Llyfr Duw yn brif gynghorwr ar bob achos; a da oedd gennyf fod gorsedd gras yn rhydd pan y byddai fy meddwl tywyll yn methu gweled i amryw bethau. Darllenais farnau amryw o eglwysi, ac amryw Dduwinyddion enwog, a fu yn amryw wledydd, mewn amryw oesoedd---y llyfrau canlynol a ddefnyddiais yn fwyaf: *Taylor on the Law and Gospel; Beart* a *Colquoun on the same; Witsius on the Covenants, and his Irenicum; Boston* a *Ridgley's Body of Divinity; Dr. Owen on Justification; Rawlin, Brown of Wamphray, Brine, Dickinson, Norton, Edwards,* a *Jenk, on the same; Booth's Reign of Grace; Buck's Theological Dictionary; Dr. Goodwin on Justifying Faith; Geiriadur Ysgrythyrol; Corph Duwinyddiaeth y Dr. Lewis,* a'i *Draethawd ar Gyfiawnhad,* &c. &c. Defnyddiais amryw ymadroddion o eiddo rhai o'r awdwyr uchod, yn enwedig *Dr. Owen on Justification.* Buaswn yn rhoddi enwau yr awdwyr wrth eu hymadroddion, oni buasai fy mod wedi penderfynu, na arferwn enwau dynion sydd yn erbyn nac o blaid y gwirionedd hwn: ac ni arferais ymadroddion o'r eiddo neb, ond rhai agos i iaith a dull yr Ysgrythyrau.

Nid oes gennyf ond gadael y Traethawd canlynol i ofal Duw, *yr hwn sydd yn cyfiawnhau,* gan ddymuno iddo ei fendithio, i oleuo rhai tywyll, unioni rhai cyfeiliornus, cysuro yr argyhoeddedig, ac i gadarnhau y gweiniaid.....Yr ydwyf yn disgwyl i'r doeth a'r duwiol bassio heibio fy ffaeleddau; ond nid wyf yn disgwyl yn amgen na chael fy nghablu gan eraill. Dymunaf gymmorth i ddioddef: nid yw cabl eirisu yn werth eu hatteb. Bod i Dduw gael y gogoniant, a dynion gael lles, ydyw dymuniad

Eich Gwas dros Grist yn yr Efengyl,

JOHN ELIAS.

LLANFECHELL, *Ebrill* 5, 1821.

# GOLYGIAD YSGRYTHYROL

AR

# GYFIAWNHAD.

---

UN o ragoriaethau yr Efengyl yw, ei bod hi yn dangos y ffordd i bechadur gael ei wneuthur yn gyfiawn ger bron Duw; nid yw hyn yn cael ei ddangos yn un lle arall. Y mae y gangen hon o athrawiaeth yr Efengyl yn un o brif bynciau y grefydd Gristionogol; ac y mae yn beth o'r pwys mwyaf i ddynion ei deall, a'i chredu. Y mae ei effeithiau yn cyrhaedd trwy holl gorph duwinyddiaeth, trwy brofiad y Cristion, ac yn gweithredu yn ei holl ymarweddiad. Y perygl mwyaf yw cyfeiliorni, neu gam-gymmeryd mewn perthynas i'r gangen hon o athrawiaeth gras; oblegid y mae hi yn dangos yr unig ffordd i ddyn gael ei gymmeradwyo gyd â Duw: ac os bydd i ddyn gam-gymmeryd hyd angau am yr unig ffordd i fod yn gymmeradwy, y mae yn rhwym i fod yn anghymmeradwy byth. Ni all dynion weled gogoniant un gangen o athrawiaeth yr Efengyl tra y byddont yn y tywyllwch ac mewn ammeuyniad am y ffordd i fod yn gyfiawn ger bron Duw; ac ni allant chwaith gael gobaith na chysur ar sail dda. Ni allasai angel na dyn atteb y gofyniad mawr ei bwys, sef, *Pa fodd y cyfiawnheir dyn gyd â Duw?* oni buasai fod Duw, yn ei anfeidrol drugaredd, wedi rhoi modd i'w atteb yn yr Efengyl. Y mae dyn wrth natur yn elyn i drefn Duw yn

cyfiawnhau dyn ger ei fron; am hynny, nid yw yn derbyn tystiolaeth Duw yn ei Efengyl, ond yn chwilio allan lawer o ddychymmygion am ffordd i fod yn gyfiawn ger bron Duw: ond y mae pawb yn sicr o gael eu siommi, ond y rhai sydd yn ymostwng i'r drefn rasol ogoneddus a ddatguddiodd Duw yn yr Efengyl. Y mae goleuni natur a reswm yn hollol annigonol i ddeall nac i amgyffred y drefn hon, er ei bod wedi ei datguddio yn yr Ysgrythyrau yn eglur; ac y mae egwyddor ddeddfol dyn, a chrefydd y cnawd, yn ei herbyn: yr Yspryd Glân yn unig sydd yn datguddio ei gwerth, ei natur, a'i gogoniant. Dylem weddïo am iddo ein harwain i'r gwirionedd hwn, a'n dysgu ynddo, a'n cadw rhag cyfeiliorni ar un llaw mewn perthynas iddo.

Er mwyn ceisio gweled i'r gwirionedd hwn, a gochel cyfeiliorni mewn peth o gymmaint pwys, ni a sylwn ar y pethau canlynol:

I. *Beth yw ystyr y gair* CYFIAWNHAU, *yn yr Ysgrythyrau.*

II. *Pa fath Farnwr yw Duw, yr hwn sydd yn cyfiawnhau.*

III. *Natur ac anghyfnewidioldeb y Ddeddf Foesol, yr hon yw rheol cyfiawnder i ddyn.*

IV. *Fod sefyllfa dyn, fel troseddwr, yn wyneb y ddeddf foesol y fath, na all gael ei gyfiawnhau ger bron Duw trwy ddim sydd ynddo, nac a wneir, neu a ddioddefir ganddo.*

V. *Mai gras pen-arglwyddiaethol Duw ydyw yr achos gwreiddiol a chynhyrfiol o gyfiawnhad pechadur.*

VI. *Mai Ufudd-dod Crist yw y Cyfiawnder y gwneir pechadur yn gyfiawn trwyddo.*

VII. *Mai trwy gyfrif ufudd-dod Crist i'r pechadur y mae Duw yn ei gyfiawnhau, neu yn ei wneuthur yn gyfiawn.*

VIII. *Mai y rhai sydd yn credu y'Nghrist sydd yn cael eu cyfiawnhau; a pha beth yw natur Ffydd, a'i lle a'i swydd yn y cyfiawnhad.*

IX. *Am Ragorfreintiau y rhai a gyfiawnhawyd.*

X. *Nad yw y rhai a gyfiawnhawyd yn byw dan lywodraeth pechod; ond eu bod yn cael eu sancteiddio hefyd, ac yn cael eu dysgu a'u tueddu i fyw i Dduw, wrth reol y ddeddf.*

I. Ni a chwiliwn, *Beth yw ystyr y gair* CYFIAWNHAU *yn yr Ysgrythyrau*—heb hynny, ni allwn fod yn gywir ein barn, nac yn oleu yn ein meddyliau am *Gyfiawnhad.*

1. Yn naccaol: Nid yw y gair *cyfiawnhau* yn arwyddo plannu anian gyfiawn mewn dyn, neu wneuthur y dyn yn gyfiawn yn ei ymddygiad; megis nad yw y gair *coll-farnu* yn arwyddo rhoddi egwyddor ddrwg mewn dyn, na gwneuthur ei fuchedd yn ddrwg; ond ei farnu yn deilwng i ddioddef, am ei fod yn ddrwg, ac wedi cael ei brofi felly yn llŷs barn: felly, nid yw y gair *cyfiawnhau* yn arwyddo rhoddi anian gyfiawn yn yr enaid, na gwneuthur y fuchedd yn gyfiawn; ond barnu a chyhoeddi y dyn yn gyfiawn mewn barn. Enwau eraill, megis aileni, creu yng Nghrist, &c. sydd ar blannu anian sanctaidd yn yr enaid; a sancteiddio y gelwir rhoddi cynnydd ac ymgeledd i'r anian honno.

2. Yn gadarnhaol: Ymadrodd yn perthyn i lysoedd barn ydyw cyfiawnhau; arferir y gair mewn achosion a drinir mewn llysoedd barn. Y mae y gair *cyfiawnhau,* yn wrthwyneb i'r gair *condemnio,* neu *goll-farnu:* felly yr arferir y gair wrth roddi cyfarwyddid mewn perthynas i farn wladol, yn *Deut.* 25. 1. *Pan byddo ymrafael rhwng dynion, a dyfod i farn i'w barnu, yna cyfiawnhant y cyfiawn, a chondemniant y beius.* *Diar.* 17. 15. *Y neb a gyfiawnhao y drygionus, ac a gondemnio y gwirion, ffiaidd gan yr Arglwydd ydynt.* Yr oedd barnwyr

llygredig yn Israel, yn cyfiawnhau yr annwir er gwobr. Esa. 5. 23. Fel y mae y gair cyfiawnhau yn cael ei arfer yn wrthwyneb i'r gair coll-farnu, mewn barn wladol; felly, hefyd, mewn ystyr grefyddol ac efengylaidd, y mae y gair cyfiawnhau yn myned am weithred farnol, barnu a chyhoeddi un yn gyfiawn, ac yn rhydd mewn barn; yn gyfiawn, er yr holl gyhuddiadau oedd yn ei erbyn; ac yn rhydd oddiwrth y gosp gyfiawn am y pethau yr oedd efe yn cael ei gyhuddo o'u plegid. Y mae y gair yn cael ei arfer mewn amryw ystyriaethau yn yr Ysgrythyrau; ac y mae yn angenrheidiol i ni ddeall yr amryw ystyriaeth hynny, cyn y gallem fod yn oleu a chadarn yn ein golygiadau a'n barn am gyfiawnhad: oblegid os cymmerir y gair *cyfiawnhau* yn yr un ystyr, ym mhob lle yr arferir y gair yn y Bibl, arwain hynny ni i gamsynied a chyfeiliornad. Sylwn ar rai o'r amryw ystyriaethau y mae y gair *cyfiawnhau* yn cael ei arfer ynddynt:

1. Arferir y gair *cyfiawnhau*, am gyhoeddi, datgan, neu hyspysu, personau neu bethau yn gyfiawn; megis cyfiawnhau Duw, *Ps.* 51. 4, 5. *Fel y'th gyfiawnhaer pan lefarech.* Yr ystyr yw, fel y profer, yr addefer, ac y cyhoedder Duw yn gyfiawn, yn ei ymddygiad at Dafydd, a'i gerydd arno am ei bechod. Yn yr un ystyr y dywedir, *Mat.* 11. 19. *Doethineb a gyfiawnhawyd gan ei phlant ei hun.* Yr hyn oedd yr Iuddewon yn gyffredinol yn ei gyfrif yn ffolineb, yr oedd plant Duw yn ei gyfrif yn ddoethineb; profi fod doethineb Duw yn ymddangos yn hynod yn athrawiaeth Crist, yn nhrefn iachawdwriaeth trwyddo; ie, fod Crist ei hun yn ddoethineb Duw, yr oeddynt yn cydnabod, yn addef, ac yn proffesu hynny, trwy ei dderbyn ef, a'i athrawiaeth; a rhyfeddu a chymmeradwyo trefn ddoeth Duw i achub pechaduriaid. Hynny hefyd a feddylir yn *Luc* 7. 29. lle y dywedir, *A'r holl bobl oedd yn gwrando, a'r publicanod a gyfiawnhasant Dduw;* hynny yw, trwy wrando ar weinidogaeth danllyd Ioan Fedyddiwr, dygwyd

hwy i'w barnu eu hunain yn euog fel pechaduriaid, a Duw yn gyfiawn yn ei fygythion yn eu herbyn. Felly mae yn rhaid i ni ddeall y geiriau sydd yn dywedyd am *gyfiawnhau* Crist, *Esa.* 50. 8. *Agos yw yr hwn a'm cyfiawnhâ:* a 1 *Tim.* 3. 16. *A gyfiawnhawyd yn yr Yspryd.* Yr ystyr yw, fod y Tad yn datgan ei fod yn gyfiawn, yn ei berson a'i waith, yn ol ei feddwl a'i ewyllys yn berffaith. *Mat.* 3. 17. a 17. 5. Ei fod yn cael ei gyhuddo ar gam, a'i fod yn lân oddiwrth y pethau oedd ei elynion yn eu rhoddi yn ei erbyn, *Esa.* 53. 11. *Fy ngwas cyfiawn.* Ac yn ei adgyfodiad, eglurwyd, dangoswyd, profwyd ei fod wedi gorphen a chwblhau y gwaith a roddwyd iddo fel Mechnïydd, talu yn ol ei ymrwymiad, a dwyn *cyfiawnder tragywyddol i mewn,* trwy yr hwn y *cyfiawnhêir llawer.*

2. Y mae y gair *cyfiawnhau* yn cael ei arfer mewn ystyr cymhariaethol; sef, am rai sydd trwy eu drygioni dirfawr yn dangos eraill, er eu bod yn ddrwg, yn gyfiawnach na hwy; felly, *Jer.* 3. 11. *Israel wrthnysig a'i cyfiawnhaodd ei hun rhagor Judah anffyddlon.* *Ezec.* 16. 51, 52. *Amlhêaist dy ffieidd-dra yn fwy na hwynt, ac a gyfiawnhêaist dy chwïorydd—cyfiawnach ydynt na thi: cywilyddia dithau—gan gyfiawnhau o honot dy chwïorydd.*

3. Y mae y gair *cyfiawnhau,* weithiau, yn arwyddo fod Duw yn hyspysu ei farn am ryw weithred neillduol o eiddo dynion, ei bod yn gyfiawn, ac yn gymmeradwy ganddo: fel y mae Duw yn cyhoeddi gweithredoedd rhai yn ddrwg a ffiaidd, ac yn eu condemnio, pryd na byddo yn condemnio eu personau, neu yn eu collfarnu. 2 *Sam.* 12. 9. Felly, o'r tu arall, y mae yn *cyfiawnhau* gweithredoedd rhai; sef, yn eu cymmeradwyo, a'u cyfrif yn gyfiawnder, a'u cyhoeddi felly, er nad trwy hynny, na'r pryd hynny y mae Duw yn *cyfiawnhau* eu personau: felly yr oedd yn achos Phinees, *Num.* 25. 7, 8. pan y gwelodd ei ffieidd-dra a digywilydd-dra Zimri, pendefig ieuange o Israel,

a Cozbi, merch gwr mawr o Midian, efe a eiddigeddodd dros Dduw, a'i gyfraith, ac a drywanodd y ddau â'i waywffon fel y buont feirw, heb barchu eu mawredd na'u gwaedoliaeth. Fe allai fod llawer yn beio arno; rhai yn barod i ddywedyd na ddylasai offeiriad halogi ei ddwylaw â gwaed; a'r lleill ei fod yn ieuangc, ac nad oedd efe yn un o'r barnwyr—neu y dylasai gymmeryd amser, a'u dwyn i farn yn rheolaidd; neu haeru mai mewn dig a gwŷn y gwnaeth ef y weithred, a'i fod yn euog o lofruddiaeth, ac y dylasai golli ei offeiriadaeth. Ond golwg arall oedd gan Dduw ar ei weithred ef; cyhoeddodd Duw ei gymmeradwyaeth i'w waith, a dywedodd mai Phinees a drôdd ei *ddigter ef oddiwrth Israel, Ps.* 106. 30, 31. *iawn farnodd: A chyfrifwyd hyn iddo yn gyfiawnder o genhedlaeth i genhedlaeth.* Edrychodd Duw ar ei farn yn uniawn, a'i weithred yn gyfiawn; cyhoeddodd ei gymmeradwyaeth iddo, a bydd ei glod yn yr hanesiaeth sanctaidd tra y parhao y byd. Ond ni feddylir cyfrif y weithred honno i gyfiawnhau ei berson ger bron Duw. Nid o weithredoedd y mae hynny.

4. Weithiau y mae y gair *cyfiawnhau* yn golygu gwaith Duw yn hyspysu ei farn am gyflyrau dynion, ac nid ei waith yn newid eu cyflwr; ni all Duw ystyried na chyhoeddi cyflwr dynion ond y peth ydyw, *y mae ei farn ef yn ol gwirionedd*, *Rhuf.* 2. 2. yn yr ystyr yma, *ni ddieuoga efe yr anwir*, *Nah.* 1. 3. ac yn yr un golygiad y dywed ef ei fod *heb gyfrif yr anwir yn gyfiawn. Exod.* 34. 7. Cyhoeddodd Job yn *ŵr perffaith, Pen.* 1. 8. Y mae yn canmol *yr Iuddew yn y dirgel. Rhuf.* 2. 29. *Zacharias ac Elizabeth yn gyfiawn ger bron Duw. Luc* 1. 6. *Yr hwn sydd yn gweithredu cyfiawnder, sydd yn gymmeradwy ganddo. Act.* 10. 35. Ond egwyddor a buchedd gyfiawn a olygir yn y geiriau uchod, oedd yn profi bod eu cyflwr yn dda ger bron Duw; ac nid y cyfiawnder oedd yn cyfiawnhau eu personau ger ei fron ef. Yn yr ystyr yma y mae i ni ddeall yr apostol Iago yn dywedyd *am*

*gyfiawnhad, Pen.* 2. 21. *Onid o weithredoedd y cyfiawnhawyd ef, pan offrymmodd efe Isaac ei fab ar yr allor?* Yr oedd Abraham yn gyfiawn ger bron Duw lawer o flynyddoedd cyn aberthu Isaac. Trwy ffydd y gadawodd ef ei wlad, *Heb.* 11. 8. a chyfrifwyd cyfiawnder iddo flynyddoedd cyn geni Isaac. *Gen.* 15. 6. Ond pan offrymmodd ef Isaac ei fab mewn ufudddod i orchymyn Duw, rhoddodd brawf newydd ei fod yn gyfiawn; ymddygodd mewn modd neillduol fel cyfaill Duw, a dangosodd ei fod yn ei ofni, a'i garu uwchlaw pawb a phob peth; am hynny dywedodd Duw wrtho ef, *Gwn weithian i ti ofni Duw. Gen.* 22. 12. Gwyddai Duw hynny o'r blaen, ond cymmerodd waith Abraham yn offrymmu ei fab, yn achlysur newydd i ddangos ei gymmeradwyaeth i'w grefydd; ac i ddangos i'r byd trwy yr oesoedd a ddeuai, wirionedd a chadernid ffydd Abraham, ei fod yn gyfiawn ger bron Duw, ac yn gyfaill iddo. Felly y mae yn amlwg nad oes dim yng ngeiriau yr apostol Iago yn profi mai trwy weithredoedd y cyfiawnheir dyn ger bron Duw.

5. Bellach ni a gawn sylwi, fod y gair *cyfiawnhau* yn cael ei arfer yn fynychaf yn yr Ysgrythyrau, am gyfiawnhad pechadur ger bron Duw. Ond gan fod iawn ddeall ystyr y gair *cyfiawnhau* yn y Bibl o gymmaint pwys tu ag at ddeall natur *cyfiawnhad*, gallwn grynhoi yr hyn a ddywedir yn yr Ysgrythyrau am *gyfiawnhau*, i bump o bethau; sef,

1. *Cyfiawnhad gwladol*, mewn llys barn, gan farnwr gwladol. Gwel *Deut.* 25. 1. *Diar.* 17. 15.

2. *Gau gyfiawnhad;* sef, gwaith dyn mewn tywyllwch, a gwag ogoniant, yn ceisio ei gyfiawnhau ei hunan, trwy osoddi rheswm anianol ar yr orsedd, a chydwybod gysglyd yn farnwr; fel y cyfreithiwr, *Luc* 10. 29. *Yn ewyllysio ei gyfiawnhau ei hun.* A'r Phariseaid, *Luc* 16. 15. *Yn eu cyfiawnhau eu hunain ger bron dynion.* Ond yr oeddynt *yn ffiaidd ger bron Duw.*

3. *Cyfiawnhad deddfol*, pan y mae dynion yn ceisio cael eu cyfiawnhau ger bron Duw trwy weithredoedd y ddeddf, trwy ryw beth ynddynt eu hunain, neu ryw beth a wneir ganddynt; *Dilyn deddf cyfiawnder*, ceisio cyfiawnder *trwy weithredoedd y ddeddf*. *Rhuf.* 9. 31, 32. Ond, *trwy weithredoedd y ddeddf ni chyfiawnheir un cnawd un ei olwg ef.* *Rhuf.* 3. 20.

4. *Cyfiawnhad pechadur ger bron Duw* yn y llwybr y mae yr Efengyl yn ei ddatguddio. *Rhuf.* 1. 17. *Ynddi hi y datguddir cyfiawnder Duw o ffydd i ffydd.* *Cyfiawnhau trwy ras*, *Rhuf.* 3. 24. *Tit.* 3. 7.—*trwy Grist*, *Gal.* 2, 16.—*trwy waed Crist*, *Rhuf.* 5. 9.—*trwy ei ufudd-dod ef*, *Rhuf.* 5. 19.—*trwy ffydd Crist.* *Phil.* 3. 9.

5. *Cyfiawnhad trwy weithredoedd*, a sonir am dano yn *Iago* 2. Y mae yn amlwg nad oedd Iago yn meddwl am gyfiawnhau ger bron Duw, fel y dangoswyd o'r blaen mewn perthynas i Abraham; ond profi ac amlygu trwy eu gweithredoedd ger bron dynion, eu bod yn gyfiawn ger bron Duw: trwy eu gweithredoedd yr oedd eu proffes, eu ffydd, a'u crefydd yn cael eu cyfiawnhau, eu profi eu bod yn dda, ac o'r iawn ryw. Heb weithredoedd ni allasent brofi nad gau a marw oedd y ffydd oeddynt yn broffesu.

Bellach, ar ol olrhain y gair *cyfiawnhau* yn yr amrywiol ddull ac ystyriaethau yr arferir ef yn y Bibl, ni a sylwn yn unig am *gyfiawnhad* pechadur ger bron Duw, fel y datguddir yn yr Efengyl; er fod y drefn yn llawn dirgelwch, a dyn anianol yn ymddyrysu ac yn tramgwyddo yn ei hwyneb, etto y mae hi yn cael ei datguddio yn amlwg yn y gair. Ac oni bai gelyniaeth dynion yn ei herbyn, ni byddai dyryswch na chyfeiliornad mewn perthynas iddi ym mhlith y dynion sydd â gair yn eu dwylaw, a gweinidogaeth yr Efengyl yn eu mysg; ond y mae syniad y cnawd yn llawn gelyniaeth yn ei herbyn, ac egwyddor ddeddfol dyn yn hollol annerbyniol o honi, ac am

hyny yn dyfeisio amryw ffyrdd i geisio ei gwyrdroi a'i dryg-liwio, a'i gwneuthur yn gas gan bawb.

Ond gan fod gwybod y ffordd i gyfiawnhau dyn gyda Duw, o gymmaint pwys, a bod y gangen hon o athrawiaeth yn sylfaen pob gwir gysur i'r pechadur sydd yn ei adnabod ei hun, ni a geisiwn ymofyn beth a ddywed yr Ysgrythyr am y ffordd hon.

Wrth sylwi am gyfiawnhad pechadur ger bron Duw, dylem ddal yn ein côf yr hyn a brofwyd o'r blaen; sef, fod y gair *cyfiawnhau*, yn ymadrodd wedi cael ei gymmeryd oddiwrth achosion a drinir mewn llysoedd barn; ac felly y mae i'w ddeall pan y sonir am gyfiawnhau dyn ger bron Duw; nid yw yn golygu gwaith yn cael ei wneuthur yn y dyn, nac ar y dyn; ond gwaith Duw fel Barnwr, mewn perthynas i'r dyn. Gosodir Duw allan megis yn eistedd ar ei orsedd, a'r pechadur euog dan gyhuddiadau trymion yn cael ei ddwyn ger ei fron, heb ddim i'w ddywedyd drosto ei hun; etto Duw, yn ei anfeidrol ras, trwy ffordd a drefnodd ef ei hun yn ei fawr ddoethineb, yn cyfiawnhau y pechadur euog, yn ei ryddhau yn gyfiawn, oddiwrth y gosp oedd gyfiawn iddo. Y mae pob peth perthynol i *gyfiawnhad*, yn cael llefaru am danynt yn yr Ysgrythyrau mewn dull barnol.

1. *Barn* yn cael ei golygu; felly yr oedd y Psalmydd yn gweddïo, *Ps.* 143. 2. *Na ddos i farn â'th was, o herwydd na chyfiawnheir neb byw yn dy olwg di.* Yr oedd efe yn gweled na allai sefyll mewn barn yn wyneb y gyfraith ei hun, heb Fechnïydd.

2. *Barnwr;* sef, Duw ei hun. *Yr Arglwydd Dduw ein cymmorth—Agos yw yr hwn a'm cyfiawnha.* *Esa.* 50. 7, 8. *Duw yw yr hwn sydd yn cyfiawnhau.* *Rhuf.* 8. 33.

3. *Gorsedd;* ond, er cysur i'r pechadur euog tlawd, *gorsedd gras* ydyw. *Heb.* 4. 16. Er mai Duw cyfiawn yw y Barnwr,

y mae yn eistedd ar orsedd gras. *Y mae yn ymdderchafu i dosturio.* *Esa.* 30. 18.

4. *Y person euog*, ydyw y pechadur a argyhoeddwyd o bechod a thrueni ei gyflwr, y mae mor euog a'i fod dan farn Duw, yn haeddu marwolaeth, wedi cael cam ei enau, heb ddim i ddywedyd drosto ei hun. *Rhuf.* 1. 32. a 3. 19.

5. *Y mae cyhuddwyr* lawer yn dyfod ym mlaen yn barod i brofi y cyhuddiadau yn ei erbyn—y ddeddf, *Ioan* 5. 45.—cydwybod, *Rhuf.* 2. 15.—a Satan hefyd. *Zech.* 3. 2. *Dad.* 12. 10.

6. *Y mae cyhuddiad* wedi ei dynnu a'i dderbyn yn ei erbyn mewn *ysgrifen-law* (y mae y ddeddf fel yr oedd hi yn y cyfammod cyntaf yn ein herbyn ni) *Col.* 2. 14. a'i gosod o flaen y faingc. Beth a wna yr euog bellach ?

7. Nid oes *dadl* i'w gael drosto yn un lle ond yn yr Efengyl. Y mae yma *ddadl* ddigonol—rhad ras—trwy waed Crist—pridwerth wedi ei dalu—cymmod wedi ei wneuthur—cyfiawnder tragywyddol wedi cael ei ddwyn i mewn gan Fechnïydd y cyfammod. *Rhuf.* 3. 24, 25. *Dan.* 9. 24. *Eph.* 1. 7.

8. *Yma yn unig y mae y pechadur argyhoeddedig yn ffoi*; nid oes ganddo ddadl arall, ond rhad ras, a'r hyn a wnaeth ac a ddioddefodd Crist; ïe, y mae yn llwyr ymwrthod â phob dadl fu ganddo gynt. *Ps.* 130. 2, 3. *Luc* 18. 13. 1 *Ioan* 1. 7. *Phil.* 3. 7, 8, 9.

9. Y mae *Eiriolwr*, neu *Ddadleuwr* gyd â'r Tad, yn dadleu ei iawn dros bechaduriaid o ddynolryw, i wneuthur dadl y pechadur liwythog a blinderog, yn effeithiol a llwyddiannus o flaen yr orsedd. 1 *Ioan* 2. 1, 2.

10. Yn ganlynol y mae *dedfryd* o ryddhad yn cael ei rhoddi gan y Barnwr, uwch ben y pechadur euog, ar gyfrif prid-werth, aberth a chyfiawnder Crist, a'r person yn cael ei dderbyn i ffafr Duw; bydd y Barnwr megis yn dywedyd, *Gollwng ef yn*

*rhydd, myfi a gefais iawn.* Yna bydd *Duw yn gyfiawn yn cyfiawnhau* y pechadur sydd yn dadleu am ei fywyd trwy aberth a chyfiawnder Crist; bellach ni bydd *dim damnedigaeth* iddo, ond bydd yn *gyfiawnder Duw yng Nghrist*; ac *ni chyfrif yr Arglwydd beckod iddo, bydd yn gymmeradwy yn yr Anwylyd. O bobl gadwedig gan yr Arglwydd!*

Gan mai ymadrodd barnol yw *cyfiawnhau*, awn ym mlaen i ystyried, Pa fath farnwr ydyw Duw? ac wrth ba reol neu ddeddf y mae yn barnu? a pha fath yw sefyllfa y pechadur yn wyneb y ddeddf honno? a pha fodd y cyfiawnheir dyn gan Dduw yn ei hwyneb? Pe bydddai dyn dan gyhuddiad, ac yn rhwym i sefyll o flaen brawdle mewn llys gwladol, i atteb ac i gael ei farnu am y pethau y cyhuddwyd ef o'u plegid, oni byddai yn naturiol iddo ymofyn yn ddifrifol iawn, Pa fath un yw y barnwr y bydd yn rhaid i mi sefyll ger ei fron? beth yw natur y gyfraith y bernir fi yn ei hwyneb? beth yw fy ymddygiad tu ag atti; a oes modd fy nghyfiawnhau? Ninnau a ymofynwn, Pa fath farnwr ydyw Duw?

## II. *Am Dduw fel Barnwr.*

Y MAE yn angenrheidiol anhebgorol tu ag at gael iawn olwg ar y ffordd i gyfiawnhau pechadur, gael meddyliau ac ystyriaethau addas am fawredd, sancteiddrwydd, a gogoniant Duw fel Barnwr: oblegid ei waith ef fel Barnwr ydyw cyfiawnhau. Efe *a ddichon gadw a cholli. Iago* 4. 12. *Duw yw yr hwn sydd yn cyfiawnhau. Rhuf.* 8. 33. Yn ei olwg ef y mae cyfiawnhau. *Ps.* 143. 2. *Rhuf.* 3. 20. Pe bai dynion yn cael iawn olwg ar fawredd a phurdeb Duw fel Barnwr, byddai yn anhawdd i un gau olygiad, neu gam farn am y ffordd i gyfiawnhau dyn, sefyll: ac nid oes dim a dawela gydwybod y pechadur a oleuwyd am dano, ond golwg ar y ffordd sydd ganddo ef i *gyfiawnhau yr annuwiol.* Er mwyn ceisio dangos hyn yn fwy eglur, sylwn ar y pethau canlynol:

I. *Fod Duw yn Llywodraethwr a Barnwr dynion.*
II. *Am briodoliaethau Duw fel Barnwr.*
III. *Mai gweithred o eiddo Duw fel Barnwr yw cyfiawnhau.*

I. Y mae Duw nid yn unig yn Greawdwr, cynnaliwr, a pherchen dynion; ond y mae efe hefyd yn llywodraethwr a Barnwr pob dyn. Buasai yn anghysson â doethineb Duw, iddo roddi bod i greaduriaid, heb fwriadu eu llywodraethu; neu roddi bod i greaduriaid rhesymol, heb fwriadu eu llywodraethu, a'u barnu; buasai Duw felly yn awdwr annhrefn. Ond pell oddiwrth yr Hollalluog yw hynny.

1. Y mae Duw yn *llywodraethwr ar bob peth yn yr holl greadigaeth; Ei frenhiniaeth ef sydd yn llywodraethu ar bob peth.* *Ps.* 103. 19. Y mae ef *yn llywodraethu ar holl deyrnasoedd y cenhedloedd.* 2 *Cron.* 20. 6. Ac, *yn llywodraethu y cenhedloedd ar y ddaear.* *Ps.* 67. 4. *Llywodraethu y ddaear.* *Job* 34. 13. *Yn ol ei ewyllys ei hun y mae yn gwneuthur â llu y nefoedd, ac â thrigolion y ddaear.* *Dan.* 4. 34, 35.

Y mae Duw yn llywodraethu ar yr holl greaduriaid direswm; y mae y cymmylau *yn ymdroi oddi amgylch wrth ei lywodraeth ef.* *Job* 34. 12, 13. Ac *yn llywodraethu ymchwydd y môr.* *Ps.* 89. 9. Ië, *y mae y gwynt ystormus yn gwneuthur ei air ef.* *Ps.* 148. 8.

Y mae llywodraeth Duw ar bob creadur yn addas i natur y creadur: felly ei lywodraeth ar ddyn yn addas i natur y dyn, fel creadur rhesymol. Y mae yn angenrheidiol bod gan bob llywodraethwr ddeddf i lywodraethu ei ddeiliaid wrthi. Y mae gan Dduw ddeddf addas i natur pob creadur, i lywodraethu y creadur wrthi; *Gosododd ddeddf ac nis troseddir hi.* *Ps.* 148. 6. *Deddf i'r gwlaw.* *Job* 28. 26. *Deddf i'r môr.* *Diar.* 8. 29. Ond fel y mae dyn yn rhagori yn ei natur ar y creaduriaid eraill isod, felly y mae y ddeddf a roddodd Duw iddo ef yn rhagori ar yr holl ddeddfau: deddf foesol sydd yn gweddu i greadur rhesymol. Sylwn etto ar hynny.

2. Y mae *Duw yn Farnwr dynion: Barnydd yr holl ddaear*, *Gen.* 18. 25. *Yr Arglwydd farnwr*, *Barn.* 11. 27. *Barnwr byw a meirw*, *Act.* 10. 42. 1 *Petr* 4. 5. *Barnwr pawb*, *Heb.* 12. 23. *Barna derfynau y ddaear*, 1 *Sam.* 2. 10. Y mae gan Dduw hawl naturiol i lywodraethu dynion: *Pwy a roddes iddo lywodraethu y ddaear? Job* 34. 13. Ni roddodd neb; y mae ganddo hawl o hono ei hun, fel Creawdwr, cynnaliwr, a pherchen pob peth, i lywodraethu pob peth; a hawl i osod deddfau i lywodraethu wrthynt. Felly, hefyd, y mae ganddo hawl i farnu ei ddeiliaid rhesymol wrth y ddeddf a osododd efe iddynt. Megis na all llywydd lywodraethu heb ddeddf, felly ni allai amddiffyn ei lywodraeth, na chadw trefn ar ei ddeiliaid, heb eu barnu yn ol y ddeddf a osododd ef iddynt; honno yw y rhëol i farnu ymddygiad y deiliaid at eu llywydd; y ddeddf yw y terfyn rhwng da a drwg: byw yn wrthwyneb iddi, ydyw anufudd-dod, bai, a gwrthryfel; a byw yn unol â'i rhëolau, yw ufudd-dod, a rhinwedd. Gelwir y gyfraith yn *rhëol y farnedigaeth*. *Deut.* 17. 9, 10, 11. Sonir am *wybod cyfraith a barn*, *Esther* 1. 13. Ni ellid barnu yn gyfiawn, heb gyfraith gyfiawn; ac ofer fyddai cyfraith heb farn. Y mae gan Dduw, pen-llywodraethwr nef a daear, gyfraith wedi ei gosod i ddynion, unol â'i natur ei hun; ac addas i natur dynion. Y mae yn barnu dynion wrth honno. Y mae yn barnu pob peth gwrthwyneb i'r ddeddf, neu a fyddo yn fyr o atteb iddi, yn bechod; ac nid yw yn barnu dim yn gyfiawnder ond ufudd-dod perffaith iddi.

Y mae golwg Duw ar y ddeddf wrth gadw a cholli. *Iago* 4. 12. *Un gosodwr cyfraith sydd, yr hwn a ddichon gadw a cholli.* Ni chollir neb ond troseddwyr o honi; ond *melldigedig yw pob un nad yw yn aros yn yr holl bethau a ysgrifenir yn llyfr y ddeddf i'w gwneuthur hwynt.* *Gal.* 3. 10. Ac ni chedwir neb heb ei gael i atteb iddi; heb iddi hi gael ei chyflawni, ei boddloni, a'i mawrhau. Felly y mae yn amlwg na

fyn *Duw barnwr pawb* gadw neb heb ei gael yn gyfiawn yn wyneb ei ddeddf.—*Gosodwr cyfraith* sydd yn cadw; a *Barnwr pawb* sydd *yn cyfiawnhau.*

II. Y mae yn angenrheidiol a buddiol i ni sylwi ar *briodoliaethau Duw fel Barnwr*, fel y gallom weled pa fath farnwr ydyw Duw. Y mae hyn o'r pwys mwyaf, oblegid yr ydym oll yn ddeiliaid iddo, yn gyfrifol iddo, ac i gael ein barnu ganddo; ac os achubir ni, efe, fel Barnwr, raid ein cyfiawnhau, a'n rhyddhau. Onid yw yn ofidus iawn meddwl fod cymmaint yn ein gwlad mor anwybodus am yr hwn y maent yn gyfrifol iddo am bob meddwl, gair, a gweithred; mor ddieithr i'r hwn y bydd raid iddynt yn fuan sefyll o'i flaen mewn barn; mor dywyll am yr hwn y maent yn disgwyl cael eu rhyddhau a'u hachub ganddo! Y mae yr Ysgrythyrau yn dywedyd yn eglur pa fath Farnwr ydyw Duw.

1. *Barnwr mawr ac ofnadwy.* Y mae mawredd anchwiliadwy ynddo; meddyliwn a dywedwn mor fawr ag y gallom am dano, gellir dywedyd wrthym wedi y cwbl, *Y mae yn Nuw ogoniant mwy ofnadwy. Job* 37. 22. *Y mae colofnau y nefoedd yn crynu ac yn synnu wrth ei gerydd ef. Job* 26. 11. *Y mynyddoedd a grynant rhagddo, a'r bryniau a doddant, a'r ddaear a lysg gan ei olwg.—Pwy a saif o flaen ei lid ef? Nah.* 1. 5, 6. *Ein Duw ni sydd dân ysol. Heb.* 12. 29. Y mae mawredd barnwyr daearol yn peri i lawer grynu, pan y bydd rhaid iddynt ymddangos ger eu bron; ond nid yw holl farnwyr y byd ond gwellt, a llai na dim pan y cymherir hwy â Barnwr byw a meirw: *I'w gosod yn y glorian, ysgafnach ydynt hwy i gyd na gwegi.*

2. *Barnwr anfeidrol sanctaidd ydyw.* Nid oes anwiredd ynddo, ac ni all garu y pechod lleiaf yn neb, na bod mewn cymmod âg un math o bechod byth; y mae yn ffiaidd ganddo bob mai—y mae yn casbau pob camwedd â chás cyflawn. *Y sêr nid ydynt bur yn ei olwg ef: pa faint llai dyn? Job* 25.

5, 6. *Nid sanctaidd neb fel yr Arglwydd.* 1 *Sam.* 2. 2. *Pwy a ddichon sefyll o flaen y Duw sanctaidd hwn?* 1 *Sam.* 6. 20. *Duw sancteiddiol yw efe; Duw eiddigus yw; ni ddioddef ef eich anwiredd, na'ch pechodau. Jos.* 24. 19. *Ydwyt lanach dy lygaid nag y gelli edrych ar ddrwg, ac ni elli edrych ar anwiredd. Hab.* 1. 13.

3. *Barnwr anfeidrol gyfiawn.* Y mae yn gyfiawn atto ei hun, at ei holl briodoliaethau, at ei gyfraith, a'i lywodraeth. Y mae yn ymddwyn yn gyfiawn at ei holl greaduriaid: *Gwna barnwr yr holl ddaear farn. Gen.* 18. 25. *Nid yw yr Arglwydd yn gweled yn dda wneuthur cam â gwr yn ei fatter. Galar.* 3. 36. *Y barnwr cyfiawn* ydyw, 2 *Tim.* 4. 8. Ië, *Barnwr cyfiawnder* yw, *Jer.* 11. 20. Barna wrth y llyfrau, ac y mae ei orsedd yn wen, ac yn ddifrycheulyd. *Dad.* 20. 11, 12.

4. *Barnwr hollwybodol ydyw.* Gŵyr bob peth: nid oes un meddwl, gair, na gweithred gan neb yn guddiedig rhagddo; y mae yn *gwybod beth sydd mewn dyn;* y mae yn *chwilio y galon,* ac *yn deall pob dychymmyg meddyliau; ni thywylla y tywyllwch rhagddo. Ps.* 139. 7. *Duw gwybodaeth yw yr Arglwydd.* 1 *Sam.* 2. 3. Y mae llawer o farnwyr y ddaear yn gwneuthur cam farn mewn anwybodaeth, trwy gael camgyhuddiad a gau dystion; ond y mae Barnwr pawb yn gwybod pob peth, ac yn gweled y cwbl ei hun. Ni ellir ei dwyllo, na'i ddallu â gwobrau. *Ni phrisia efe ar olud, ar aur, nac ar holl gadernid nerth. Job* 36. 19. Ni ellir rhoddi dim iddo, ei eiddo ef yw pob peth. *Job* 41. 11. *Os cyfiawn fyddi, beth wyt ti yn ei roddi iddo ef? neu beth y mae ef yn ei gael oddiar dy law di? Job* 35. 7.

5. *Barnwr cadarn,* ie, hollalluog: Y mae yn ofer i'r euog geisio ymgodi yn ei erbyn; ni lwyddant. Bu rhai euog yn rhy galed i rai o farnwyr y ddaear; fel yr oedd meibion *Serfiah* yn rhy galed i Dafydd, 2 *Sam.* 9. 39. ond ni bydd neb yn rhy

galed i Dduw. *Efe a wna i wr gael yn ol ei ffordd ei hun; diau hefyd na wna Duw yn annuwiol, ac na wyra yr Hollalluog farn.* Job 34. 11, 12. Gall Duw ofyn i'r mwyaf eiled o flaen y faingc, *A wnei di fy marn i yn ofer?* Job 40. 8. Y mae llawer yn elynion iddo, ac yn gwrthwynebu ei farn ef yn awr; a llawer dan goll-farn yn ddiystyr ac anystyriol; ond barn Duw a saif, ni wna neb ei farn yn ofer.

Y mae ystyriaethau addas am Dduw fel Barnwr yn cael effaith dda ar ddynion, yn cenhedlu meddyliau isel ynddynt am danynt eu hunain, ac yn eu llenwi â gwylder, sobrwydd, ac ofn. Byddant yn barod i waeddi allan, *Pwy a drig gyd â'r tân ysol?* Esa. 33. 14. *Pwy a ddichon sefyll o flaen y Duw sanctaidd hwn?* Gwaeddodd rhai yn yr olwg arno, *Gwae fi, darfu am danaf.* Esa. 6. 5. Ac yn yr olwg yma ymofynodd llawer, *A pha beth y deuaf ger bron yr uchel Dduw?* Mica 6. 7. Y mae ystyriaeth o fawredd a phurdeb Duw fel Barnwr, yn effeithio ar weddïau dynion; ïe, ar weddïau y saint. *Os creffi ar anwireddau, Arglwydd, O Arglwydd, pwy a saif?* Ps. 130. 3. *Na ddos i farn â'th was.* Ps. 143. 2. *Gwael ydwyf—ffiaidd gennyf fi fy hun.* Job 40. 4. a 42. 6. Y mae golwg gywir ar Dduw fel Barnwr yn foddion rhagorol i waredu dynion rhag cyfeiliorni mewn perthynas i'r ffordd i fod yn gyfiawn ger bron Duw.

III. *Mai gweithred o eiddo Duw fel Barnwr yw cyfiawnhau.* Gweithred barnwr ydyw *coll-farnu;* felly hefyd *cyfiawnhau.* *Gosodwr cyfraith* a ddichon *gadw* a *cholli.* Er mai gweithred rasol yw cyfiawnhau, Duw fel Barnwr sydd yn cyfiawnhau: ac yn hyn y mae doethineb a gogoniant y drefn, sef, bod *Duw yn gyfiawn* yn *cyfiawnhau yr annuwiol.* Nid yw Duw yn rhoi heibio ei fawredd a'i ogoniant fel Barnwr wrth achub pechaduriaid; ond y mae yn eistedd fel Barnwr, etto yn achub!——Fel Barnwr y mae yn amddiffyn ei briodoliaethau, ei lywodraeth, a'i gyfraith; fel Duw graslawn yn achub y

pechadur euog. Eistedd fel barnwr ar faingc barn, a'r pechadur euog yn cael ei ddwyn ger ei fron; yna y mae efe yn gwneuthur y weithred raslonaf, yn y ffordd gyfiawnaf, *cyfiawnhau* y pechadur, ac amddiffyn ei gyfiawnder a'i gyfraith yr un pryd?

1. Y mae Duw fel Barnwr yn dwyn y pechadur ger ei fron, trwy oleuo ei ddeall, deffro ei gydwybod, ei argyhoeddi o bechod; ei ddwyn *at Dduw barnwr pawb*, yna y mae y pechadur yn dechreu ystyried mawredd a phurdeb Duw, nes gorfod gwaeddi allan, *Tân ysol*, sanctaidd ac ofnadwy ydyw, *pwy a saif? pwy a ddichon sefyll? darfu am danaf!*

2. Y mae Duw fel Barnwr yn sefyll o blaid ei gyfraith; mae y pechadur yn dyfod i weled hynny;—mae Duw yn danfon ei gyfraith mewn nerth ac awdurdod at gydwybod y pechadur, nes adfywio pechod, ac y byddo y pechadur farw. *Rhuf.* 7. 9. Dyfod *trwy y ddeddf i adnabod pechod*—gweled ei fod *wedi ei werthu dan bechod*, ac nad oes ynddo *ddim da yn trigo.*

3. Y mae Duw yn ymddangos i'w feddwl fel Barnwr cyfiawn, yn amddiffyn ei gyfraith a'i lywodraeth, a bod yn rhaid cospi pechod, am ei fod yn erbyn Duw a'i ddeddf—bod Duw yn ei gashau â châs cyflawn, na all edrych arno; *a bod digofaint Duw wedi ei ddatguddio o'r nef* yn ei erbyn; *Rhuf.* 1. 18. bod *Duw yn ddigllon beunydd wrth yr annuwiol.* Os yw barnwyr daearol wrth amddiffyn y gyfraith wladol, *yn ofn i weithredoedd drwg*, pa faint mwy Barnwr Cyfiawnder wrth amddiffyn ei gyfraith sanctaidd?

4. Pan y gwelo y pechadur fawredd Duw, purdeb a pherffeithrwydd y gyfraith, amledd a mawredd ei bechodau, a melldith y ddeddf sydd ar y pechadur, y mae yn gorfod cau ei enau, a myned yn fud dan farn Duw. *Rhuf.* 3. 19. Ni all *atteb am un peth o fil* sydd yn cael eu dwyn ym mlaen yn ei erbyn. *Job* 9. 3. Ond ei iaith ydyw, *Gwael ydwyf, pa beth a attebaf? Job* 40. 4. Yma y mae gobaith deddfol a gan yn

colli y dydd, a'r pechadur yn marw. Darfu am dano o'i ran ef.

5. Er hynny y mae gan y Barnwr Cyfiawn ffordd i *gyfiawnhau*; ac i'r diben hwnnw y dyg ef y pechadur at ei orsedd yn nydd gras. Er ei fod ar orsedd, etto gorsedd gras i'r rhai a ddygir yno yn nydd gras. Brenhin mawr yw Duw, ar orsedd uchel a derchafedig y mae. *Esa.* 6. 1. *Ezec.* 1. 26. *Cyfiawnder a barn yw trigfa ei orseddfainge: etto, trugaredd a gwirionedd a ragflaenunt ei wyneb.* *Ps.* 89. 14. Mae Duw yn barnu ac yn trugarhau ar ei orsedd: dylem bob amser olygu Duw ar ei orsedd, ac etto gofio mai gorsedd gras yw. *Heb.* 4. 16. Y mae *gras yn teyrnasu trwy gyfiawnder yng nghyfiawnhad* pechadur ger bron Duw. *Rhuf.* 5. 21. Y mae Duw yn gyfiawn yn cyfiawnhau. *Rhuf.* 3. 25. Haeddu ei goll-farnu y mae y pechadur; ïe, y mae ef dan goll-farn yn barod; etto gall y Barnwr ei gyfiawnhau. Ond er fod Duw yn raslawn, ac yn cyfiawnhau o'i ras rhad, etto y mae yn barnu yn gyfiawn wrth gyfiawnhau; mae yn amddiffyn a mawrhau y ddeddf i'r eithaf, anrhydeddu ei lywodraeth ar ddyn fel creadur rhesymol, condemnio pechod yn hollol, ac er hynny *cyfiawnhau yr annuwiol.* Ond ni allasai hyn fod oni bae fod mechnïydd wedi mawrhau y gyfraith, a dioddef cospedigaeth pechod, rhoddi iawn, a dwyn cyfiawnder tragywyddol i mewn. Y mae y pechadur ar ddarfod am dano, yn cael golwg arno, ac yn ffoi atto, ei gymmeradwyo, a'i dderbyn; ïe, ynddo ef y mae yn cael *cyfiawnder a neith;* ynddo ef y mae y pechadur yn cael ei wneuthur yn *gyfiawnder Duw.* Trwy ufudd-dod y Mechnïydd y gwneir llawer yn gyfiawn. Bydd y Barnwr yn gyfiawn wrth farnu y pechadur yn gyfiawn yn yr ufudd-dod hwn! Ond cawn sylwi yn helaethach ar hyn yn ei le priodol ei hun. Mae yn angenrheidiol i ni yn nesaf, sylwi ar y Gyfraith, rhëol cyfiawnder, wrth yr hon y mae Duw yn barnu.

### III. *Am y Ddeddf Foesol.*

Ni all neb ddeall y gangen bwysfawr hon o athrawiaeth yr Efengyl, sef *am gyfiawnhad pechadur ger bron Duw*, na bod yn uniawn yn ei farn am dani, heb fod ei ddeall wedi ei oleuo, a'i farn yn gywir am y *ddeddf foesol.* Pa fodd y gellir deall am *gyfiawnhad* dyn ger bron Duw, heb ddeall pa fath gyfiawnder neu ufudd-dod y mae Duw yn ei ofyn gan ddyn? a pha fodd y gwybyddir pa beth yw y cyfiawnder a ofynir gennym, heb wybod beth yw y rhëol cyfiawnder a roddodd Duw i ni? Rhoddodd Duw, y Creawdwr doeth, ddeddf addas i bob creadur a wnaeth, yn ol natur a sefyllfa y creadur (fel y profwyd o'r blaen); felly rhoddodd ddeddf i ddyn, addas iddo fel creadur rhesymol, ac i'r berthynas oedd rhyngddo a Duw, fel creadur iddo. Y ddeddf hon a elwir gennym, deddf natur, am iddi gael ei rhoddi yn natur dyn pan y crewyd ef; ac yn gyffredinol gelwir hi, y *ddeddf foesol*, i'w gwahaniaethu oddiwrth ddeddfau pendant a roddodd Duw, yn ei benarglwyddiaeth i rai dynion dros ryw amserau; ond nad oedd yn rhwymo holl ddynolryw i ufudd-dod, na neb o honynt yn dragywyddol. Yr ydym hefyd yn ei galw yn *ddeddf foesol*, oblegid ei bod hi yn rhëol moesau, neu ymddygiadau, i holl ddynolryw, ym mhob lle, bob amser. Mae y ddeddf hon yn gynnwysedig yn y deg gorchymyn a lefarodd Duw ar Sinai. Hon yw rhëol ufudd-dod dyn; ac ufudd-dod perffaith i'r ddeddf hon yw y cyfiawnder y mae Duw yn ei ofyn gan ddyn.——Sylwn ar amryw bethau mewn perthynas iddi.

I. *Bod y ddeddf foesol yn angenrheidiol.*

II. *Am swm a natur y ddeddf.*

III. *Am berffeithrwydd y ddeddf.*

IV. *Am anghyfnewidioldeb y ddeddf.*

I. *Bod y ddeddf foesol yn angenrheidiol.* Mae yn wir mai gweithred o benarglwyddiaeth ac ewyllys rhydd Duw oedd

creu dyn. Nid addas dywedyd, fod yn angenrheidiol i Dduw wneuthur un creadur, na gwneuthur *dyn* yn greadur rhesymol, fel y gwnaeth efe ef. *Yn ol ei ewyllys ei hun* y gwnaeth Duw bob creadur; a *dyn* yn greadur rhesymol, fel y gwnaeth efe ef. *O herwydd dy ewyllys di y maent, ac y crewyd hwynt. Dad.* 4. 11. Ond gan i Dduw ewyllysio creu dyn, a'i gynnysgaeddu âg enaid rhesymol, cymmwys i dderbyn gwybodaeth am ei Greawdwr a'i ewyllys, ac i roddi ufudd-dod iddo, ac i dderbyn gwobr neu gospedigaeth; yna yr oedd y ddeddf yn angenrheidiol fel rhëol ufudd-dod i'r dyn, a moddion gan Dduw i'w lywodraethu fel creadur rhesymol. Yr oedd y ddeddf yn angenrheidiol ac yn addas, o ran y berthynas rhwng Duw, fel Creawdwr doeth, a dyn fel creadur rhesymol; rhwng Duw fel llywodraethwr cyfiawn, a dyn fel deiliad rhesymol ei lywodraeth. Yr oedd y ddeddf hon yn ol natur y Duw oedd yn ei rhoddi, ac yn addas i natur y dyn oedd yn ei chael; yn offeryn addas i Dduw lywodraethu y dyn, a rhëol addas i'r dyn ymddwyn at Dduw, ei hunan, a'i gyd-greadur. Pery yn ddigyfnewid tra byddo y berthynas rhwng Duw fel Creawdwr, a dyn fel creadur rhesymol yn parhau. Plannodd Duw y ddeddf hon yn egwyddor ac yn reddf yn natur dyn yn ei greadigaeth, pan y gwnaeth efe *ef ar ei ddelw ei hun;* amlygodd ei ewyllys i'r dyn am rëol ei ufudd-dod, ei fod i garu Duw â'i holl galon, a bod yn ufudd iddo ym mhob peth. Mae parhad y ddeddf hon mor angenrheidiol, a'i bôd a'i rhoddiad ar y cyntaf: bydd yn angenrheidiol, yn addas, ac mewn llawn awdurdod tra y byddo Duw yn Dduw, a dyn yn ddyn.

II. *Am swm a natur y ddeddf foesol.* Y ddeddf a roddwyd yn natur dyn yn ei greadigaeth, oedd yr un yn ei sylwedd a'r ddeddf a roddwyd ar Sinai; sef y deg gorchymyn, neu y deg gair deddf. Yr oedd y pethau a orchymyn yn y deg gorchymyn, yn ddyledswyddau, a gwneuthur y pethau a waherddir ynddynt, yn bechodau, cyn rhoddi y ddeddf ar Sinai. Y mae hynny o

weddillion o ddeddf natur sydd yn aros yn y dyn yn ei gyflwr cwympedig, *Rhuf.* 2. 15. yn cyd-fyned â'r ddeddf yn y deg gorchymyn, mor bell ag y mae gweddillion o honi yn aros yn natur dyn. Hefyd, wrth ddywedyd am y cyfnewidiad y mae Duw trwy ei ras yn ei wneuthur ar y rhai a gedwir, dywedir eu bod yn cael *eu creu yn ol Duw, mewn cyfiawnder a gwir sancteiddrwydd. Eph.* 4. 24. A dywedodd Duw am yr un gwaith, *Myfi a ddodaf fy nghyfreithiau yn eu meddwl, ac yn eu calonnau yr ysgrifenaf hwynt. Heb.* 8. 10. Y mae yn amlwg fod yn un gair gyfeiriad at greu dyn ar y cyntaf ar ddelw Duw; ac yn y llall gyfeiriad at ysgrifennu y gyfraith ar y llechau ar Sinai. Y mae yn amlwg hefyd mai yr un gwaith grasol a olygir, wrth ddywedyd *creu yn ol Duw*, ac wrth sôn am *ysgrifennu y gyfraith yn y meddwl;* felly y mae yn eglur mai yr un ddeddf a roddwyd yn natur dyn pan y crewyd ef ar ddelw Duw, ag a ysgrifenwyd wedi hynny ar y llechau ar fynydd Sinai, ag y sydd yn cael ei hysgrifennu gan Dduw yng nghalonnau ei bobl.

Y mae sylwedd y ddeddf mewn geiriau byrrion gan Grist yn *Mat.* 22. 37, 39. *Cari yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon, ac â'th holl enaid, ac â'th holl feddwl: a châr dy gymmydog fel ti dy hun.* Y mae hi yn gofyn i ddyn lynu wrth Dduw yn hollol, yn wastadol, ac anghyfnewidiol; mewn ymddiried, cariad, ac ofn parchus; gan ei olygu fel eu Creawdwr, eu cynnaliwr, eu llywodraethwr, a'u daioni pennaf; ac ufuddhau iddo ym mhob peth, fel ag y dangosai ef ei ewyllys sanctaidd a doeth i ddyn. Yr oedd hyn yn natur dyn pan y crewyd ef. Crewyd ef *mewn sancteiddrwydd*, cydffurfiad sanctaidd â Duw, fel y mae y llech gyntaf yn gofyn; ac mewn cyfiawnder at ei gyd-greadur, fel y mae yr ail lech yn gofyn. Mae amryw bethau yn deilwng o'n sylw mewn perthynas i natur y ddeddf.

1. *Un* yw y ddeddf foesol, nid amryw; y mae amryw orchymynion, ond un ddeddf. Y mae pob gorchymyn moesol yn

y Bibl yn gynnwysedig ynddi; ond etto, un yw hi. Fel y mae gan ddyn aelodau lawer, eithr un corph; felly, gorchymynion lawer, ond un ddeddf; ond y mae yr hwn a dorto un gorchymyn, yn torri y ddeddf; *A balio mewn un pwngc, y mae efe yn euog o'r cwbl. Iago* 2. 10. Y mae efe yn torri y gyfraith wrth dorri un gorchymyn o honi; fel y gall un ladd dyn wrth ei daro, neu ollwng ei waed ar ryw un aelod iddo; trwy archolli pa aelod bynnag y lladdodd efe y dyn, y mae efe yn euog o ladd y dyn; felly, pa orchymyn bynnag y mae y dyn yn ei droseddu, y mae efe yn euog o dorri y ddeddf: un yw hi.

2. *Y mae y ddeddf yn sanctaidd, yn gyfiawn, ac yn dda. Rhuf.* 7. 12. Nid yw hi yn gofyn dim ond sydd sanctaidd yn ei natur, ac yn gyfiawn tu ag at Dduw a dynion, ac yn wir dda ym mhob ystyriaeth i'r dyn ei hun, i'w gorph a'i enaid. Y mae pob anufudd-dod iddi, yn halogedig, anghyfiawn, a drwg i gorph ac enaid; ïe, y mae pob trosedd o honi yn afresymol a thra phechadurus.

3. Wrth sylwi ar natur y ddeddf, dylem wahaniaethu rhwng y ddeddf ynddi ei hun fel deddf; a'r ddeddf fel yr oedd hi yn sefyll yn y cyfammod yn Eden.——1. Am y ddeddf ynddi ei hun, *rheol* gyfiawn ydyw, a roddodd Duw fel Creawdwr, perchen, a llywodraethwr y dyn, iddo fel creadur rhesymol i rodio wrthi; y mae dyn tra byddo yn ddyn, yn rhwym dani felly, fel rheol y rhoddwyd hi i ddyn pan y crewyd ef; ar ol hynny y gwnaeth Duw gyfammod â'r dyn. Gwel *Gen.* 1. 27. a 2. 16, 17. Yr oedd y dyn ar ddelw Duw; felly, yr oedd y ddeddf yn ei galon cyn i Dduw wneuthur cyfammod âg ef; ïe, buasai y dyn yn rhwym wrth y ddeddf i ufuddhau i'w Greawdwr, pe na wnaethai Duw gyfammod âg ef byth.——2. Ond fe welodd Duw yn dda fyned i gyfammod â'r dyn, fel pen-cynddrychiolwr ei holl hâd. Y mae y geiriau yn *Gen.* 2. 16, 17. yn cynnwys cyfammod, er nad yw y gair cyfammod yno; y mae yno *reol* yn cael ei gosod i'r dyn i fyw, a *bygythiad* os byddai iddo dorri

y rheol, neu y gorchymyn; ac *addewid* yn cael ei chynnwys os ufuddhai. Y mae y gair, *y dydd y bwyttai o hono, gan farw y byddi farw*, yn cynnwys *addewid* y ca'i fyw hyd hynny; ac felly, os na fwyttai o hono byth, yr oedd yno addewid yn cael ei chynnwys y byddai iddo ef a'i hâd gael byw byth.

Yr oedd sefyllfa bennodol gan y ddeddf yn y cyfammod hwnnw; ynghylch ei chadw hi yr oedd y cyfammod. Nid oedd y gorchymyn ynghylch y *pren*, ond arwydd, neu brawf a fyddai y dyn yn ufudd; ufuddhau i Ddûw oedd y peth yr oedd y cyfammod yn ei gylch. Yr oedd y ddeddf oedd yn ei natur yn rhwymo y dyn i gydsynio â'r ammodau oedd yn y cyfammod, ac yn ei rwymo i ufuddhau i'r gorchymyn pendant ynghylch y *pren yng nghanol yr ardd*. Ar ol i Dduw orchymyn peidio bwytta o hono, ufudd-dod i'r ddeddf foesol oedd peidio; a throsedd o honi oedd bwytta. Felly, fel yr oedd hi yn y cyfammod, yr oedd addewid *bywyd* wedi ei gyssylltu âg ufudd-dod iddi; a bygythiad *marwolaeth* wrth anufudd-dod. Yr oedd Adda yn cael braint gael myned i'r cyfammod hwn â Duw; oblegid yr oedd ufudd-dod perffaith yn ddyledus arno i Dduw o'r blaen fel ei Greawdwr a'i lywydd, a buasai yn gyfiawn iddo gael ei gospi os anufuddhasai; ond nid oedd rhwymau ar Dduw ei wobrwyo am ufudd-dod: ond yn y cyfammod yr oedd addewid, ac yr oedd *y gorchymyn i fywyd* trwy honno. Ond trwy anufudd-dod *un dyn* y mae *y gorchymyn ydoedd i fywyd, wedi ei gael i farwolaeth*. Collwyd hawl i'r addewid, aeth Adda a'i holl had dan y bygythiad; *daeth marwolaeth trwy bechod i'r byd*. Y mae pob dyn wrth natur dan y ddeddf, fel yr oedd hi yn sefyll yn y cyfammod cyntaf â'r Adda cyntaf; a'i hiaith hi tu ag attynt, ydyw, *melldigedig yw pob dyn nad yw yn aros yn yr holl bethau*. *Gal.* 3. 10. Golygiad ar y ddeddf fel yr oedd hi yn sefyll yn y cyfammod, sydd yn y geiriau sydd yn sôn am *farw i'r ddeddf*. *Rhuf.* 7. 4. *Gal.*

2. 19. Tra y mae dyn heb gredu yng Nghrist, yr hwn yw yr *Ail ddyn*, yr *Adda diweddaf*, y mae efe yn aros dan y cyfammod a wnaed â'r Adda cyntaf, a than y ddeddf fel yr oedd hi yn sefyll yn y cyfammod hwn; a bygythiad marwolaeth yn gyssylltiedig anwahanol âg anufudd-dod iddi. Y mae tuedd mewn dyn wrth natur i ddisgwyl bywyd trwyddi, yn ol yr addewid yn y cyfammod yn Eden; ond y mae pob hawl i'r addewid wedi ei golli trwy anufudd-dod; daeth *coll-farn* ar bob dyn trwy gamwedd un. *Rhuf.* 5. 18. Y mae pawb, fel torwyr cyfammod, ac fel troseddwyr eu hunain, yng ngafael y gair *gan farw y byddi farw*, a than *felldith y ddeddf.* Pan y delo yr Yspryd Glân i argyhoeddi pechadur o bechod, dengys hynny iddo; yna daw y ddeddf mewn goleu a nerth at ei gydwybod, yn ei ehangrwydd, a'i hysprydolrwydd; yna y gwel y dyn ei fod dan ei melldith, a bydd farw; gwel ei fod yn *farw*, a bydd marw ei obaith am fywyd trwy y ddeddf. *Rhuf.* 7. 9, 10, 11. Y mae y pechadur sydd yn *marw* o ran gobaith cael byw trwy y ddeddf, fel yr oedd yn y cyfammod, yn ffoi am ei fywyd at Grist yr ail Adda, ac yn cael bywyd trwy gredu ynddo, a'i wared oddiwrth felldith y ddeddf. Nid yw mwyach dan y ddeddf, fel yr oedd hi yn sefyll yn y cyfammod; nid yw yn ceisio nac yn disgwyl *bywyd* trwy ei ufudd-dod iddi: ac y mae wedi cael lle i ymguddio rhag *marwolaeth* am ei anufudd-dod iddi, er ei fod yn ei haeddu o'i ran ef. Ond y mae yr hwn sydd yn credu yng Nghrist, dan y ddeddf, fel deddf, fel *rheol ymddygiad;* er ei fod wedi cael ei waredu oddi wrthi, fel yr oedd hi yn y cyfammod, y mae ef yn ei charu yn fwy, fel *rheol*, ac yn teimlo mwy o rwymedigaethau i'w chadw; y mae yn ei chadw o egwyddor o duedd, y mae hi wedi cael ei hysgrifennu yn ei galon, dymunai ei chadw yn berffaith; ei ofid a'i drallod yw pob trosedd o honi, a diffyg cyd-ymffurfio â hi.

III. *Am berffeithrwydd y ddeddf foesol.* Mae y fath berffeithrwydd yn y ddeddf, fel na ellir chwanegu atti, na thynnu

oddi wrthi.. *Deut.* 4. 2. *Cyfraith yr Arglwydd sydd berffaith.* *Ps.* 19. 7. Y mae hi yn derfyn perffaith rhwng da a drwg, yn dangos beth i'w wneuthur, a pha bethau na ddylid eu gwneuthur. Y mae hi yn gwarafun a chondemnio pob pechod; ac yn gorchymyn pob rhinwedd, a phob dyledswydd sydd deilwng oddiwrth ddyn i Dduw, ac sydd yn gweddu oddiwrth y naill greadur tu ag at y llall. Nid oes ddyledswydd ond y mae hi yn ei ofyn; na phechod ond y mae hi yn ei wahardd. Y mae hi yn rhwymo pawb i gydffurfiad llawn â hi, mewn corph ac enaid, bob amser, ac ym mhob amgylchiad. Y mae hi yn gofyn perffeithrwydd i'r eithaf ym mhob dyledswydd, ac yn gwahardd y gradd lleiaf o bechod mewn corph ac enaid. *Dy orchymyn di sydd dra ehang.* *Ps.* 119. 96. Y mae hi yn gofyn *yr holl galon, yr holl enaid, yr holl feddwl, a'r holl nerth.* *Ni a wyddom fod y ddeddf yn ysprydol.* *Rhuf.* 7. 14. Y mae hi yn gofyn y tueddiadau, y serchiadau, a'r holl amcanion. Gwel esponiad Crist arni, *Mat.* 5. 17—48. Ac fel diwedd-glo i'w esponiad, efe a ddywedodd, *Byddwch chwi gan hynny yn berffaith, fel y mae eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd yn berffaith.* *Adn.* 48. Mae y cyfryw berffeithrwydd yn y ddeddf foesol, fel yr oedd hi yn rhëol ddigonol i gyfiawnder perffaith Crist. Cyflawnodd ef hi yn berffaith. *Diwedd y ddeddf er cyfiawnder.* *Rhuf.* 10. 4. Ufuddhaodd i'w holl ofyniadau perffaith i'r eithaf, a dioddefodd ei holl felldith; a thrwy hyn gwnaeth gyfiawnder perffaith i'r rhai a gredant ynddo. Edrychwch ar Grist yn byw, cewch weled fel y mae y ddeddf yn gofyn i ddyn fyw. Bu ef byw yn berffaith wrth y rhëol hon; ac etto nid oedd yn fwy perffaith nag oedd gofynion y ddeddf.

Dadleuir yn erbyn perffeithrwydd y *ddeddf* fel *rhëol,* trwy ddywedyd, fod rhai gorchymynion yn yr Efengyl nad ydynt yn y ddeddf foesol, megis gorchymyn *edifarhau* a *chredu yng Nghrist,* &c. Mae y ddadl yn cyfodi oddiar gamsyniad am y

ddeddf a'r Efengyl. Y maent yn golygu y ddeddf fel pe bae hi yn yr Hen Destament yn unig, os nad yn yr ugeinfed o Exodus yn unig; ac yn golygu y Testament Newydd yn Efengyl ddigymmysg oll.——Ond yr oedd yr Efengyl yn cael ei phregethu gan Moses, a'r prophwydi. *Luc* 24. 27. A'r ddeddf yn cael ei phregethu gan Grist a'i apostolion. Gwel bregeth Crist ar y mynydd. *Mat.* 5. 17—48.——Mae y gair Efengyl, yn ei ystyr priodol, yn cynnwys yn unig *y datguddiad o drefn rasol Duw yn achub pechaduriaid, trwy Iesu Grist, neu athrawiaeth y prynedigaeth trwy Grist, ac addewidion grasol o gyfiawnhad, a iachawdwriaeth trwyddo ef.* A'r ddeddf yn cynnwys *rhëol berffaith i ddyn ymddwyn at Dduw a dynion ym mhob peth—gorchymynion i wneuthur yr hyn oll a ddylem wneuthur, a gwaharddiad gwneuthur pob peth na ddylem ei wneuthur; a bygythion uwch ben y troseddwyr.*— Pa un bynnag ai yn yr Hen Destament ai yn y Newydd y cawn orchymynion moesol, Deddf ydynt: a pha un bynnag ai yn yr Hen Destament ai yn y Newydd y cyfarfyddom â datguddiad neu gyhoeddiad o drefn rasol Duw i gadw pechaduriaid, neu addewidion grasol o faddeuant, cyfiawnhad, sancteiddhad, a gogoneddiad, Efengyl ydyw. Y ddeddf foesol oedd ac sydd yn gofyn ufudd-dod i bob gorchymyn a gosodiad pendant o eiddo Duw; megis ufudd-dod i'r gorchymyn pendant ynghylch y *pren* yn Eden, a'r gorchymynion pendant yn y ddeddf seremonïol, tra y parhaodd eu tymmor: felly i'r gosodiadau pendant dan yr oruchwyliaeth efengylaidd, sef, Bedydd a Swpper yr Arglwydd. Yn ganlynol, gwelwn mai y ddeddf foesol sydd yn gofyn ffydd ac edifeirwch. Nid oedd anghen gwneuthur deddf newydd i'w gofyn. Mae yn wir nad oedd y ddeddf yn gofyn i ddyn perffaith edifarhau am bechod. Nid oedd yn gofyn i Adda, cyn iddo bechu, edifarhau; ac nid oedd yn gofyn i Grist edifarhau chwaith. Nid oedd y ddeddf yn gofyn i Adda, cyn iddo syrthio, gredu mewn ail Adda,

ceidwad ac iachawdwr pechaduriaid: eithr, ar ol iddo gwympo, yr oedd yr un ddeddf, heb fod un math o gyfnewidiad yn ei natur, yn gofyn iddo gredu, ac edifarhau.——Wrth sylwi yn fanylach cawn weled hyn yn eglurach.

1. Mae y ddeddf yn gofyn i'r dynion sydd yn clywed yr Efengyl gredu yr Efengyl. Mae y ddeddf yn gofyn i ddynion gredu Duw ym mhob ffordd ac y datguddio efe ei feddwl a'i ewyllys iddynt: y mae hynny yn cael ei ofyn yn y gorchymyn cyntaf. Pa fodd y carwn ef, yr addolwn ac y parchwn ef, heb ei gredu. Y ffordd yr amlygodd Duw ei feddwl a'i ewyllys egluraf i ddynion, ydyw yn yr Efengyl; y dystiolaeth a dystiolaethodd Duw am ei Fab. Nid oedd eisiau deddf newydd i orchymyn ffydd; ond yr oedd angenrheidrwydd am ddatguddiad efengylaidd o wrthddrych i ffydd, ac y byddai y pechadur yn gadwedig trwy gredu ynddo. Felly, pan y mae Crist yn cael ei ddatguddio a'i gyhoeddi yn yr Efengyl, mae y ddeddf yn rhwymo y pechadur i gredu y *dystiolaeth a dystiolaethodd Duw am ei Fab.* Onid oedd deddf natur yn rhwymo Adda i gredu yr addewid o *Hâd y wraig?* Nid yw y gair yn un lle yn gofyn i neb gredu ond gwirionedd dwyfol, ar sail geirwirdeb a ffyddlondeb y digelwyddog Dduw. Pwy a all wadu, nad yw y ddeddf foesol yn gofyn hynny?

2. Mae y ddeddf foesol yn gofyn edifeirwch. Gan ei bod yn gorchymyn caru Duw â'r holl galon, ac ufuddhau iddo ym mhob peth; ac y mae hynny yn natur y ddeddf, sef cynnwys ym mhob gorchymyn yn y gofyniad wahardd y peth gwrthwyneb iddo. Wrth ofyn i'r dyn garu Duw, gwaherddir ei gashau, a gwrthryfela yn ei erbyn; ac wrth ofyn ufudd-dod, gwaherddir pob anufudd-dod. Mae y ddeddf yn gofyn i ddyn fod yr un feddwl â Duw am y pethau y datguddiodd Duw ei feddwl mewn perthynas iddynt. Newid meddwl yw edifarhau. Os daw y dyn i fod yr un feddwl a Duw am y gyfraith, am bechod, ac am ei gyflwr, bydd yn edifarhau y pryd hynny; ac

efe a newid ei ymddygiad oddiar newid ei feddwl. Os daw yn ol gofyniad y gyfraith i garu Duw, ac i ufuddhau iddo, bydd yn naturiol iddo ei ffieiddio ei hun, a galaru yn ddiragrith am ei ymddygiad o'r blaen. Onid yw hynny yn wir edifeirwch? Mae amryw o'r Paganiaid na chlywodd yr Efengyl erioed dan ryw drallodau trymion, yn cyfaddef eu pechodau, yn galaru yn ddirfawr, ac yn ceisio gwneuthur rhyw iawn i'w duwiau: onid yw hynny yn profi fod deddf natur yn gofyn edifeirwch? Mae yn wir nad oedd y ddeddf, fel yr oedd ei sefyllfa yn y cyfammod gweithredoedd, yn rhoddi lle i edifeirwch, ond melldithio y troseddwr yn ddiarbed: etto, mae y ddeddf, fel y mae hi yn rhëol ymddygiad, yn gofyn ufudd-dod parhaus i Dduw, ac yn gorchymyn peidio pechu yn ei erbyn: os gwrendy y pechadur hyn, y canlyniad fydd edifarhau. Mae yn wir fod y rhwymedigaethau i edifarhau yn cael eu cryfhau trwy yr Efengyl; oblegid fod yr Efengyl yn datguddio gras Duw, ac yn cyhoeddi addewid o faddeuant rhad, trwy Grist, i rai yn haeddu damnedigaeth. *Y mae Duw yr awr hon yn gorchymyn i bob dyn, ym mhob man, edifarhau.* *Act.* 17. 30. Yr oedd Duw yn ei ddeddf yn gorchymyn edifarhau o'r dechreuad; a pha bryd bynnag y byddai pechaduriaid yn myned i afael ei ddeddf, ac yn teimlo pwys ei gofynion, byddant yn cydnabod fod yn ddyledswydd arnynt edifarhau: Ond y mae Duw dan yr Efengyl fel pe byddai yn rhoddi rhyw rym newydd yn y gorchymyn i edifarhau, trwy gyhoeddi gras, maddeuant, a heddwch trwy waed Crist, *yr awr hon yn gorchymyn.*

Gwelwn bellach berffeithrwydd y ddeddf yn rhëol i bob dyledswydd, ac i warafun pob pechod, fel nad oes eisiau deddf arall yn rhëol iddynt yn y byd hwn na 'r byd a ddaw. Yn nesaf, ymofynwn, a fu neu a ddaw rhyw gyfnewid arni!

IV. *Am anghyfnewidioldeb y ddeddf.* Rhoddodd Duw rai deddfau cyfnewidiol, sef, y deddfau pendant oedd yn tarddu o'i benarglwyddiaeth, megis y gorchymyn ynghylch peidio bwytta

o ffrwyth y *pren* yn Eden, a'r ddeddf seremoniol i Israel. Gallasai Duw, o ran dim angenrheidrwydd oedd yn natur pethau am danynt, eu rhoddi neu beidio; nid oedd y pethau oeddynt yn ei ofyn, neu yn eu gwarafun, na da na drwg yn eu natur, yn flaenorol i roddi y deddfau hynny. Y gwaharddiad oedd yn peri bod gwneuthur yr hyn oedd yn cael ei wahardd yn bechod; a'r gofyniad oedd yn peri bod gwneuthur yr hyn oedd yn cael ei ofyn yn ddyledswydd. Cael eu rhoddi i rai dynion, nid i holl ddynolryw; a thros ryw dymmor, nid yn barhaus a digyfnewid. Ond nid felly y ddeddf foesol; ond y mae hi yn tarddu yn naturiol ac angenrheidiol oddiar natur y berthynas sydd rhwng Duw fel Creawdwr cyfiawn, doeth, a da, â'i greadur rhesymol, dyn. Mae y pethau y mae hi yn eu gofyn yn rhesymol, a da yn eu natur; a'r pethau y mae hi yn eu gwahardd, yn hollol ddrwg yn eu natur. Nid yw yn unol â natur sanctaidd Duw farnu y pethau y mae hi yn eu gofyn yn ddrwg, neu yn ddiangenrhaid; na 'r pethau y mae hi yn eu gwarafun yn dda, neu yn ddiniweid. Felly, mae y ddeddf yn angenrheidiol, yn anghyfnewidiol, ac yn dragywyddol, fel y berthynas rhwng dyn a Duw. Saif hon yn ddigyfnewid tra y byddo Duw yn Dduw, a dyn yn ddyn; tra y byddo Duw yn Greawdwr a llywodraethwr, a dyn yn greadur a deiliad iddo. *Hyd oni el y nef a'r ddaear heibio, nid â un iod, nac un tippyn o'r gyfraith heibio. Mat.* 5. 18. *Yn dragywydd, O Arglwydd, y mae dy air wedi ei sicrhau yn y nefoedd.—Cyfiawnder dy dystiolaethau a bery yn dragywydd. Ps.* 119. 89, 144.

1. Mae y ddeddf yn rhwymo dyn yn dragywyddol i ufudddod perffaith i Dduw, ym mha gyflwr, ac ym mha fyd bynnag y bydd efe.

2. Fel yr oedd hi yn sefyll yn y cyfammod yn Eden, y mae ei melldith a'i chosp fygythiol uwch ben pob dyn sydd dan y

cyfammod hwnnw; a phawb a fyddo byw a marw dano, y mae Duw fel llywodraethwr a barnwr cyfiawn, yn rhwym i dywallt y felldith, a rhoi y gosp gyfiawn arnynt byth. O na ystyriai dynion, fod y ddeddf sydd yn gofyn ufudd-dod perffaith dibechod, ac yn cyhoeddi dedfryd angau, ïe, angau tragywyddol ar ei holl droseddwyr, i barhau yn ei grym yn ddigyfnewid byth yn y byd hwn a'r byd a ddaw!

Ond gan fod y rhan fwyaf o ddynion yn anystyriol am anghyfnewidioldeb y ddeddf, a rhai yn ei wadu, ac yn haeru fod rhyw ddeddf newydd larieiddiach yn awr, o dan yr oruchwyliaeth efengylaidd; ni a arferwn rai rhesymau i brofi ei bod yn ddigyfnewid.

1. Mae y ddeddf yn ei pherffeithrwydd eithaf yn gweddu i natur ac ewyllys anghyfnewidiol Duw, *gyd â'r hwn nid oes gyfnewidiad na chysgod troedigaeth. Iago* 1. 17. Yr oedd Crist yn lle lleihau perffeithrwydd gofyniadau y gyfraith, a'i hiselu yn ei gofyniadau at natur lygredig dyn, yn galw ar ddynion i fod yn berffaith, yn ol gofyniadau manylaf y gyfraith; *Byddwch berffaith, fel y mae eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd yn berffaith. Mat,* 5. 48.

2. Y mae hi yn gweddu i ein perthynas â Duw (fel y profwyd,) ac i ein perthynas â dynion fel ein cyd-greaduriaid, ac i'n dedwyddwch ein hunain. Gwel *Mat.* 7. 12. a 5. 17. Parai ei chyfnewid gyfnewidiad yn llyfr Duw trwyddo oll; oblegid *ar y ddau orchymyn hyn y mae yr holl gyfraith a'r prophwydi yn sefyll. Mat.* 22. 40.

3. Nid oes un gair yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd yn sôn am ei newid na'i llarieiddio. Pe byddai cyfnewidiad ynddi, byddai rhyw bethau oedd yn bechodau yn erbyn deddf natur, neu y ddeddf foesol, heb fod yn bechodau, neu yn llai pechodau, neu yn haeddu llai cospedigaeth; a rhyw bethau oedd yn ddyledswyddau, heb fod yn ddyledswyddau! Ond nid yw y

faith athrawiaeth yn y Bibl. Yr un yw y ddeddf; y mae hi yn gofyn yr un pethau; ac yn bygwth yr un pethau ar yr annuwiol ym mhob oes.

4. Pe cymmerid y ddeddf ymaith, neu ei newid, ni bydd un rhëol cyfiawnder ym mhlith dynion; byddai y terfyn rhwng da a drwg wedi ei gymmeryd ymaith; byddai y ddaear fel *cysgod angau, heb drefn.*

5. Y mae cydwybodau dynion, ïe, cydwybodau y Paganiaid, yn tystiolaethu bod y ddeddf yn ddigyfnewid. *Rhuf.* 2. 15. Mae y gweddill o argraffiadau deddf natur sydd yn aros mewn dynion yn tystio am ddaioni llawer o bethau a ofynir, a drwg llawer o bethau a waherddir yn y ddeddf foesol, yn profi ei bod yr un.

6. Y mae yn ynfydrwydd meddwl fod beiau y troseddwyr yn peri i lywodraethwr cyfiawn a doeth newid deddf berffaith, gyfiawn, a da; fod gwrthryfel deiliaid yn peri newid cyfreithiau teyrnas; ïe, y rhai oedd heb un bai ynddynt! Ni all hynny fod heb i'r gwrthryfelwyr orchfygu y brenhin a'i deyrnas.

7. Ni newidir, ac ni ddiddymmir hen gyfraith mewn teyrnas, heb roddi deddf i gyhoeddi y cyfnewidiad neu y diddymiad, a chyhoeddi deddf newydd yn ei lle; ni wnaeth Duw hyn, am hynny mae yn amlwg fod y ddeddf foesol yn aros yn ddigyfnewid.

8. Ni ddaeth Crist i'w diddymmu, na'i newid, nac i leihau ei gofynion, nac i roddi unrhyw esponiad i'w llarieiddio. Gwel ei bregeth ar y mynydd, *Mat.* 5. 17, 18.

9. Nid yw yr Efengyl yn ei newid; ond y mae athrawiaeth ffydd yn cadarnhau y ddeddf. *Rhuf.* 3. 31. Y mae athrawiaeth yr Efengyl yn ei hamddiffyn yn ei phurdeb eithaf, ei gofyniadau manylaf, a'i bygythion llymaf. Mae yr Efengyl yn cadarnhau y ddeddf.

10. Nid yw y saint am ei newid, nac yn dymuno cael deddf arall; mae y ddeddf wrth eu bodd; y mae hi yn eu calon.

Nid eisiau cael deddf i ofyn llai sydd arnynt; ond eu gofid ydyw, eu bod mor fyrr o atteb iddi. Y maent yn ymestyn am gyd-ffurfio yn fwy perffaith â hi.

Y mae meddwl fod Crist wedi dyfod i *newid*, neu i *ddileu*, neu i *lareiddio* y ddeddf; neu i *bfynu deddf newydd lareidd-iach;* neu i *agor ffordd* i Dduw roddi deddf newydd, mwy addas i natur dyn llygredig, deddf nad yw yn gofyn ufudd-dod perffaith, ond *diffuant*, yn cynnwys dirmyg mawr ar Dduw, Crist, a'r ddeddf. Pe buasai Duw yn newid y ddeddf foesol, buasai yn rhaid ei fod ef yn beio arni; naill am ei bod yn rhy feawl ei gofynion, neu yn rhy lym-dost yn ei bygythion: byddai meddwl y naill ffordd neu y llall yn rhoddi dirmyg mawr ar ddoethineb perffaith Duw.

Y mae y tybiau am ddeddf newydd dynerach, yn llawn o anghyssondeb, afresymoldeb, ac ynfydrwydd. Dywedir fod y ddeddf newydd yn gofyn ac yn cymmeradwyo ufudd-dod am-mherffaith; ni all hyn fod, y mae pob deddf yn gofyn ufudd-dod perffaith iddi ei hun; yr hyn nad yw yn cael ei ofyn, nid yw yn ddyledswydd ei wneuthur; a'r hyn nad yw yn cael ei wahardd, nid ydyw yn bechod ei wneuthur: *anghyfraith yw pechod.* 1 *Ioan* 3. 4. *Lle nid oes deddf, nid oes gamwedd. Rhuf.* 4. 15. *Ni chyfrifir pechod pryd nad oes deddf. Rhuf.* 5. 13. Haerir fod Crist wedi rhoddi boddlonrwydd dros ammherffeithrwydd ein hufudd-dod, fel y gellid derbyn ein hufudd-dod ammherffaith yn lle ufudd-dod perffaith. Trosedd o ba ddeddf yw eu hammherffeithrwydd? Nis gall fod yn drosedd o'r ddeddf newydd a soniant, oblegid nid yw honno yn gofyn perffeithrwydd; ni all fod yn drosedd o'r ddeddf foesol, os ydyw wedi ei diddymmu, neu ei newid: os nad yw yn drosedd o ryw ddeddf, nid yw yn bechod; ac os nad yw yn bechod, paham y dywedir fod Crist wedi marw drosto? Os dywedir nad oedd, neu nad yw yn gyfiawn i Dduw ofyn ufudd-dod perffaith i ddyn yn ei sefyllfa bresennol; os felly, nid yw

yn gyfiawn ei gospi am anufudd-dod ac ammherffeithrwydd; os felly, paham y bu Crist farw? ai i roi iawn dros yr hyn nid oedd fai? neu i'n gwaredu oddiwrth ddeddf nad oedd gyfiawn i ni fod dani? neu, ai rhag i Dduw wneuthur anghyfiawnder y bu efe farw? O anghysondeb a chabledd! Y mae gwendid a drwg y ddysg newydd hon yn ymddangos wrth ystyried y pethau canlynol:

1. Nid yw gair Duw yn un lle yn sôn am ddeddf newydd, dynerach na'r ddeddf foesol, ac yn cymmeradwyo ufudd-dod ammherffaith: tynnu oddiwrth air Duw ydyw dal hynny. *Deut.* 4. 2. a 12. 32. *Dad.* 22. 19.

2. Y mae yn wrthwyneb i air Duw; yr hwn sydd yn dywedyd ein bod trwy ffydd Crist *yn cadarnhau y ddeddf.* *Rhuf.* 3. 31.

3. Mae y dyb hon yn rhoddi diystyrwch ar ddaioni Duw fel gosodwr cyfraith, trwy geisio dangos ei fod yn iselu ei gyfraith i dderbyn rhyw fath o ufudd-dod ammherffaith iddi. Os dywedir bod Duw yn dda yn hyn, pa fodd y profir ei fod yn dda yn rhoddi y gyfraith?

4. Y mae hyn yn tueddu i ddiwreiddio ofn Duw o'r byd, a chynnwys bywyd penrhydd, dibarch i'r ddeddf. Gellir meddwl mai o gariad at bechod, a gelyniaeth at ddeddf Duw, ac at gyfiawnder perffaith Crist, y lluniwyd yr athrawiaeth ddieithr ac anghysson hon.

5. Mae y pwngc hwn o duedd i ddadymchwel diben dyfodiad Crist i'r byd, a dianrhydeddu ei gyfryngdod; ac yn ceisio ei wneuthur yn weinidog pechod. Diben ei ddyfodiad oedd mawrhau y gyfraith, dattod gweithredoedd y diafol, a gwared ei bobl oddiwrth eu pechodau. 1 *Ioan* 3. 8. *Mat.* 1. 21.

6. Mae y rhai sydd yn dal hyn yn cyd-daro â'r diafol, ac yn cyfiawnhau ei gyhuddiad yn erbyn Duw, *Gen.* 3. 4. *Ni byddwch chwi feirw ddim.* Os oedd y ddeddf a dorrwyd yn un i'w

newid, neu i'w diddymmu, yr oedd ganddo ryw reswm i ddywedyd felly.

7. Y mae hynny yn erbyn doethineb, a sancteiddrwydd, a ffyddlondeb Duw, sef dywedyd ei fod ef yn newid, neu ddiddymmu deddf berffaith, i roddi lle i un yn goddef pechod; ac yn derbyn cymmysgfa o ammherffeithrwydd i drefn y cyfiawnhad.

8. Y mae yn taflu y dirmyg mwyaf ar Dduw fel barnwr, trwy osod allan, ei fod yn cyfrif yn gyfiawnder yr hyn nid yw yn gyfiawnder; yn berffaith yr hyn sydd ammherffaith; ac yn ddibechod yr hyn sydd yn llawn pechod. Ond nid felly y gwna Duw, *y mae barn Duw yn ol gwirionedd.* *Rhuf.* 2. 2.

9. Y mae yn gosod trugaredd Duw yn erbyn ei gyfiawnder a'i sancteiddrwydd.

10. Y mae yn natur yr athrawiaeth hon geisio gosod ufudddod ammherffaith y dyn yn lle ufudd-dod perffaith Crist.

11. Gwneuthur dynion yn rhyfygus a ffurfiol, i ddisgwyl nefoedd trwy eu hufudd-dod ammherffaith eu hunain. *Mat.* 19. 20.

12. Dyrysu dynion dan argyhoeddiad. Pan fyddo y gydwybod yn cyhuddo dyn, am dorri pa ddeddf y mae hi yn ei gyhuddo? ai y ddeddf newydd? Nagê; nid yw honno yn gofyn perffeithrwydd; ni ŵyr cydwybod am y ddeddf newydd hon; etto, mae y dyb fod y ddeddf foesol wedi cael ei diddymmu, yn tueddu i ddyrysu y dyn, ac i fygu argyhoeddiadau, ac i esmwythau y gydwybod yn anghyfreithlon, a'i rhoddi i ymorphwys ar gau heddwch, a gwrthod *yr hwn yw diwedd y ddeddf er cyfiawnder.* *Rhuf.* 10. 4.——Dylem ochel yr athrawiaeth a soniwyd, am ei bod yn dianrhydeddu Duw, ac yn tueddu i ddinystrio dynion. Y mae lle i ofni fod llawer wedi cael siomedigaeth fawr yn rhy ddiweddar, trwy ddisgwyl bod yn gadwedig a chael derbyniad gyda Duw ar y sail fod y ddeddf dynerach a soniwyd yn derbyn ufudd-dod ammherffaith.

Gwelwn, yn wyneb y pethau a ddywedwyd am y ddeddf foesol, rhëol cyfiawnder dyn, ac offeryn Duw i'w lywodraethu, a'i farnu ef; nad oes modd gwneuthur dyn yn gyfiawn byth, heb gael cyfiawnder iddo a fyddo yn atteb yn gyflawn i hon yn ei manylrwydd mwyaf, a'i pherffeithrwydd eithaf. Ni byddai yn unol â mawredd cyfiawnder, a gogoniant y Barnwr, gadw un dyn heb fod yn gyfiawn yn wyneb y ddeddf; ac ni newidir yr iod leiaf yn y ddeddf, er mwyn cyfiawnhau nac achub neb. Am hynny, ymofynwn, a wyddom ni am ffordd y gall yr Arglwydd, y Barnwr cyfiawn, ein cyfiawnhau yn wyneb y ddeddf hon, sydd yn sanctaidd, yn berffaith, a digyfnewid?

IV. *Am sefyllfa Dyn fel troseddwr yn wyneb y Ddeddf.*

Y MAE sefyllfa dyn yn wyneb y ddeddf y fath, na all ef, trwy ddim sydd ynddo, nac a wneir ganddo, gael ei gyfiawnhau ger bron Duw. Gan fod Duw yn Farnwr cyfiawn, ni all gyfiawnhau dyn heb gyfiawnder. Gwel *Exod.* 34. 7. *Num.* 14. 18. *Nah.* 1. 3.——Gan mai y gyfraith yw rhëol ddigyfnewid cyfiawnder i ddyn, y mae yn rhaid iddo gael cyfiawnder a fyddo yn atteb yn berffaith iddi; os amgen, ni all gael ei gyfiawnhau. Felly, ni a ymofynwn, *Beth a ddywed yr ysgrythyr* am gyflwr dyn yn wyneb deddf Duw?

I. *Y mae pob dyn wrth natur dan y ddeddf, fel yr oedd hi yn sefyll yn y cyfammod âg Adda.*

II. *Fod pob dyn yn ei natur a'i ymddygiadau yn wrthwyneb iddi, ac yn droseddwr o honi, fel rhëol ymddygiad tu ag at Dduw a dynion.*

III. *Er hynny, y mae tuedd ym mhob dyn i geisio cyfiawnder a bywyd trwyddi.*

IV. *Fod pob dyn wrth natur dan felldith y ddeddf.*

I. *Y mae pob dyn wrth natur dan y ddeddf, fel yr oedd hi yn sefyll yn y cyfammod âg Adda.*—Profwyd o'r blaen fod

Duw wedi gwneuthur cyfammod âg Adda, ac mai y ddeddf hon oedd y rheol ufudd-dod iddo yn y cyfammod. Yr oedd Adda yn y cyfammod yn cynddrychioli holl ddynolryw; nid yn unig yn wreiddyn dynol iddynt, fel yr oeddynt i gael eu natur o hono, ond yr oedd hefyd yn sefyll yn ben iddynt yn y cyfammod â Duw. Yr oedd yn ben addas iddynt; ei blant oedd ef yn eu cynddrychioli; yr oedd efe yn eu caru hwy fel ef ei hun; yr oedd ganddo ddigon o fodd i gadw y cyfammod, nerth wrth raid i'w gael beunydd: nid oedd dim yn cael ei ofyn yn y cyfammod ond pethau hawdd, a thuedd unol â'r gofyniadau yn Adda i ufuddhau iddynt; nid oedd dim yn cael ei wahardd ond peth heb ei eisiau. Yr oeddym ni i sefyll neu i syrthio gyd âg ef, ie, ynddo ef; tra byddai yn ufudd, yr oedd ei holl had i sefyll ynddo; os cyflawnai ammodau y cyfammod, i gael byw byth gyd âg ef yn ffafr Duw, a mwynhad o hono, *gorchymyn ydoedd i fywyd*. *Rhuf*. 7. 10. Oni buasai fod bywyd i'w gael, trwy berffaith ufudd-dod, yn y cyfammod hwn, ni buasai Crist yn dywedyd wrth y cyfreithiwr, *Gwna hyn, a byw fyddi*. *Luc* 10. 28. Os anufuddhai, yr oedd efe a'i holl had i *farw*, yn ystyr gyflawnaf y gair marw. Yr oedd ei achos ef wedi ei gylymmu gyd â'n hachos ni; yr oedd ei eiddo ef a ninnau, sef dedwyddwch, megis yn yr un llong; felly, yr oedd y lle cryfaf i ddisgwyl y buasai yn hwylio y llestr yn ofalus. Y mae yn amlwg iawn, fod cyfammod yn Eden rhwng Duw ac Adda, fel pen dynolryw. Y mae gwaith Paul yn cymharu Crist âg Adda, anufudd-dod y naill âg ufudd-dod y llall; un yn gwneuthur llawer yn bechaduriaid, a'r llall yn gwneuthur llawer yn gyfiawn, &c. *Rhuf*. 5. 12—21. yn profi fod Adda yn ben-cyfammodwr, ac yn cynddrychiolwr holl ddynolryw. Hefyd, y mae gwaith yr apostol yn galw Adda a Christ yn ddau ddyn, *y dyn cyntaf*, a'r *ail ddyn*; y *daearol* a'r *nefol*; a *rhai daearol* yn perthyn i un, a *rhai nefol* i'r llall, yn dangos yn amlwg fod *Adda* a *Christ* yn ben-cyfammodwyr: llefarir am danynt fel

pè na buasai neb ar y ddaear ond hwy. Yr oedd Adda yn cynddrychioli holl ddynolryw, *y rhai daearol;* a Christ yn cynddrychioli yr holl rai a wneir yn *rhai nefol.* Gwel 1 Cor. 15. 45—49. Hefyd, oni buasai fod Adda yn ben yn y cyfammod, gallasem fod yn bechaduriaid trwy gamwedd Efa, cystal a chamwedd Adda; oblegid y wraig oedd gyntaf yn y camwedd. 1 *Tim.* 2. 14. Neu, gallasai rai o'r pechodau a wnaeth ef wedi hynny fod gyd â'r camwedd cyntaf yn ein gwneud yn bechaduriaid; *ond trwy un camwedd,* un dyn, *y gwnaethpwyd llawer yn bechaduriaid;* oblegid yr un camwedd oedd yn torri y cyfammod; un camwedd a laddodd y byd; aeth marwolaeth ar bob dyn trwy y camwedd hwn; aeth Adda a'i holl hâd i afael y gair, *gan farw y byddi farw;* yn farw, trwy golli heddwch Duw a'i ddelw, a myned yn agored i'w soriant a'i lid, mewn amser ac i dragywyddoldeb. Yr oedd drwg ac atgasrwydd annhraethol yng nghamwedd cyntaf Adda; er fod rhai dynion mewn anystyriaeth yn gwneuthur gwawd o hono, ac yn ei alw yn fai bychan, diniwed, ac yn gofyn, Ai addas damnio y byd am fwytta o ffrwyth un pren? Ond gellir gweled ond ystyried, fod atgasrwydd yn y pechod hwnnw na bu ei gyffelyb mewn un bai arall. Un perffaith, newydd gael ei greu ar ddelw Duw, a'i holl natur yn hwylus i ufuddhau iddo, a bechodd. Annufuddhaodd ar achlysur bychan. Bwytta o ffrwyth y pren gwaharddedig, heb arno ddim anghen am dano, yn Eden lawn. Cymmeryd y ffrwyth a neillduodd Duw iddo ei hun, a thrwy hynny *yspeilio Duw.* *Mal.* 3. 9. Pechu ym Mharadwys, trigfa neillduol Duw ar y ddaear. *Deut.* 32. 15. *Hos.* 13. 6. Pechu yn fuan ar ol derbyn y ffafr a'r anrhydedd mwyaf o law Duw, ei greu ar ei ddelw, a myned i gyfammod âg ef. Torri gorchymyn pendant Duw. *Gen.* 2. 17.

Yr oedd y camwedd hwnnw yn cynnwys pob drwg yn ei natur; a throseddiad o'r holl ddeddf. Gellir dangos ei fod yn

cynnwys gwrthwynebiad i bob gorchymyn sydd yn y ddeddf, ar ol ei rhannu yn ddeg o bennau ar Sinai.

1. -Yr oedd Adda yn dewis duwiau dieithr, y diafol ei hunan, ïe, ei fol, yn lle y gwir Dduw.

2. Dirmygu y drefn a osododd Duw i'w wasanaethu.

3. Cymmeryd ei enw yn ofer, dirmygu ei briodoliaethau,

4. Ni chadwodd yr orphwysfa a roddodd Duw iddo.

5. Dianrhydeddodd ei Dad oedd yn y nefoedd.

6. Lladdodd ei hun a'i holl deulu.

7. Putteiniodd oddiwrth Dduw, aeth yn ffiaidd iawn.

8. Lladrattaodd ffrwyth y pren a gadwodd Duw iddo ei hun.

9. Dygodd gam-dystiolaeth yn erbyn Duw trwy ei anghredu.

10. Anfoddlonodd i'w sefyllfa ddedwydd, a chwennychodd yr hyn ni roddodd yr Arglwydd iddo.

Onid ellir dywedyd, Dyma bechod y pechodau; dyma yr *anufudd-dod un dyn a wnaeth lawer yn bechaduriaid.* *Rhuf.* 5. 12. Dyma *y camwedd* y *bu feirw llawer trwyddo*—*y teyrnasodd marwolaeth trwyddo*—*y daeth barn ar bob dyn i gondemniad* trwyddo. *Rhuf.* 5. 15, 17, 18. Un camwedd a wnaeth hyn oll; sef, camwedd Adda tra yr oedd ef yn ben cyfammod. Yr oedd ef yn wreiddyn dynolryw ar ol y camwedd hynny; ond nid yn ben cyfammod mwyach. Mae yn angenrheidiol i ni ymofyn, pa fodd, neu ym mha ystyr y gwnaed llawer yn bechaduriaid trwy anufudd-dod a chamwedd un? Nid trwy debygoliad; oblegid gellir dywedyd ein bod yn cael ein gwneuthur yn bechaduriaid yn yr ystyr hynny, trwy anufudd-dod ein rhïeni, cystal a thrwy anufudd-dod Adda. Heblaw hynny, gwnaed babanod yn bechaduriaid, fel y mae eu cystudd, eu poenau, a'u marwolaeth yn profi; *y rhai ni phechasant yn ol cyffelybiaeth camwedd Adda.* *Rhuf.* 5. 14. Nid yr ystyr yw chwaith eu bod yn cael eu gwneuthur yn ddarostyngedig i farwolaeth, o herwydd camwedd Adda; oblegid ni byddai yn

unol â chyfiawnder Duw eu cospi â marwolaeth, heb eu bod yn bechaduriaid; *canys cyflog pechod yw marwolaeth.* Dilyn pechod y mae marwolaeth. Y mae meddwl fod Duw yn gwneuthur rhai yn ddarostyngedig i farwolaeth, heb fod yn bechaduriaid, yn rhoi y dianrhydedd mwyaf ar ei gyfiawnder ef. Yn ganlynol, y mae yn amlwg mai trwy gyfrifiad y gwnaethpwyd llawer, ie, holl ddynolryw yn bechaduriaid. *Eu gwneuthur*, neu *eu gosod mewn barn*, yn bechaduriaid; rhoi camwedd eu pen-cyfammodwr yn eu herbyn mewn barn, ei gyfrif iddynt, ei olygu yn gamwedd iddynt, fel rhai oedd yn cael eu cynddrychioli mewn cyfammod gan y pen-cyfammodwr a wnaeth y camwedd. Pe amgen, pa fodd y dywedem *fod barn* wedi dyfod *ar bob dyn i gondemniad*, trwy *un camwedd* un dyn? Yn ganlynol i hyn, y mae pawb yn farw ysprydol, yn rhwym i farw yn naturiol, ac yn ddarostyngedig i farwolaeth dragywyddol. Y mae llygredd pawb yn profi y gwirionedd hwn: ni ddanfonai Duw ddynion i'r byd yn amddifaid o gyfiawnder gwreiddiol, ac anian sanctaidd, oni bai ei fod yn eu golygu, eu cyfrif, a'u barnu yn dorwyr cyfammod. Wrth alaru yn yr olwg ar bob dyn dan gondemniad trwy anufudd-dod un dyn, rhyfeddwn ras Duw a drefnodd ffordd i wneuthur llawer yn gyfiawn *trwy ufudd-dod un*.

Y mae pob dyn wrth natur dan y ddeddf, fel yr oedd hi yn sefyll yn y cyfammod gweithredoedd âg Adda: gadawodd Adda ei holl hâd yn y cyflwr y syrthiodd ef iddo; ac yno y byddant byth oni chodir hwy oddi yno gan yr ail Adda. Yr oedd cadw y ddeddf yn berffaith yn ammod bywyd. Gwel *Rhuf.* 10. 5. *Gal.* 3. 12. *Mat.* 19. 17. Ond gan fod dyn yn bechadur, nid oes gobaith iddo gael bywyd yn ol yr ammod hwnnw. Yr oedd marw yn gyssylltiedig âg anufudd-dod, *gan farw ti a fyddi farw—cyflog pechod yw marwolaeth—melldigedig yw pob un nad yw yn aros yn yr holl bethau a ysgrifenwyd yn llyfr y ddeddf—cynnifer ag y sydd o weithredoedd y*

*ddeddf, dan felldith y maent;* *Gal.* 3. 10. hynny yw, cynnifer ag y sydd dan y ddeddf fel yr oedd hi yn y cyfammod yn Eden, ac o egwyddor yn ceisio bywyd trwyddi, *dan felldith y maent;* nid oes gobaith bywyd yn y llwybr hwnnw.

Y mae dyn dan y ddeddf fel gwraig dan ddeddf y gwr; y mae y wraig dan ddeddf y gwr hyd nes y rhyddhäo angau hi, *Rhuf.* 7. 1,—7. Felly y dyn dan y ddeddf, fel yr oedd hi yn y cyfammod, nes marw iddi. Trwy gyfammod priodas y mae y wraig dan ddeddf y gwr, nid wrth natur; felly oddiwrth y ddeddf, fel yr oedd hi yn y cyfammod, y mae dyn yn cael ei ryddhau pan y credo ef *yng* Nghrist, ac nid oddi wrthi fel rheol ei ymddygiad. Y mae cyflwr y rhai sydd dan y ddeddf yn y dull a soniwyd, yn resynol a thruenus iawn. Y mae y ddeddf yn eu gofyn hwy mor fanwl ag yr oedd hi yn gofyn Adda yn ei berffeithrwydd; ond nid yw yn rhoddi dim nerth. Y mae hi yn gofyn i'r dyn wneuthur yr hyn sydd yn ammhossibl iddo dan y cwymp; gofyn y dyn oll, enaid a chorph. Nid yw dymuno a cheisio gwneuthur yn ei boddloni: ufudd-dod perffaith, diragrith, ym mhob peth, bob amser, y mae hi yn ei ofyn; ac yn wyneb y colliad lleiaf yn y duedd neu yr ymddygiad, y mae hi yn melldithio ac yn cyhoeddi angau tragywyddol; nid yw yn derbyn edifeirwch, nac yn cynnyg maddeuant, nac yn rhoddi un gobaith bywyd i'r troseddwr. *Gal.* 3. 10. *Iago* 2. 10. Ond nid oes bai ar y ddeddf, y mae hi *yn sanctaidd, yn gyfiawn, a da.* Y mae ei gofynion yn sanctaidd, a'i melldithion hi yn gyfiawn; y pechadur sydd wedi *ei werthu dan bechod.* *Rhuf.* 7. 12, 14. Nid oes bywyd i'w gael heb farw iddi, a chael rhyddhad oddi wrthi, trwy undeb â Christ.

II. *Y mae pob dyn yn ei natur a'i ymddygiadau yn wrthwyneb i'r ddeddf, ac yn droseddwr o honi, fel rheol ymddygiad at Dduw a dynion.*

1. Y mae natur dyn yn llygredig, ac yn wrthwyneb i ddeddf Duw o'r bru; *Pwy a ddwg beth glân allan o beth aflan? neb:*

*Job* 14. 4. *Wele, mewn anwiredd y'm llunhiwyd.* *Ps.* 51. 5. *Oblegid synied y cnawd sydd elyniaeth yn erbyn Duw, oblegid nid yw ddarostyngedig i ddeddf Duw.* *Rhuf.* 8. 7. *A'r hyn a aned o'r cnawd sydd gnawd.* *Ioan* 3. 6. Y mae holl natur y dyn, gorph ac enaid, yn llygredig; holl gynheddfau ei enaid yn annsanctaidd; ei ddeall yn dywyll; ei ewyllys yn gyndyn; ei gydwybod yn halogedig a chysglyd; ei serchiadau yn ddaearol ac afreolus; a'i gôf yn gollwng pethau sanctaidd i golli; ei holl nwydau yn aflywodraethus; *a'i aelodau yn arfau anghyfiawnder i bechod.* Yn lle caru Duw â'i holl galon, y mae *y galon yn fwy ei thwyll na dim,* *Jer.* 17. 9. ac yn lle caru Duw â'r holl feddwl, y mae dynion yn *elynion mewn meddwl,* *Col.* 1. 21. *a'u meddwl a'u cydwybod yn halogedig,* *Tit.* 1. 15. *wedi tywyllu eu deall,* *Eph.* 4. 18. *ac yn gwneuthur ewyllysiau y cnawd.* *Eph.* 2. 3. Ac o'r natur a'r anian lygredig sydd yn y dyn, o'r trysor o ddrygioni sydd yn ei galon, y mae yr holl annhrefn a'r aflendid sydd yn ei fywyd yn tarddu. *Canys o'r galon y mae meddyliau drwg yn dyfod allan, lladdiadau, tor-priodasau, godinebau,* &c. *Mat.* 15. 19. *A'r dyn drwg o ddrygionus drysor ei galon, a ddwg allan ddrygioni.* *Luc* 6. 45. *Y pren drwg sydd yn dwyn ffrwythau drwg.* *Mat.* 7. 17. Felly, gwelwn, *fod holl fwriad meddylfryd calon dyn yn unig yn ddrygionus bob amser.* *Gen.* 6. 5.

2. Y mae holl ymddygiadau a buchedd dyn yn wrthwyneb i ddeddf sanctaidd Duw. Er i Dduw wneuthur dyn yn uniawn, *hwy a chwiliasant allan lawer o ddychymygion.* *Preg.* 7. 29. *Troisom bawb i'w ffordd ei hun.* *Esa.* 53. 6. *Nid oes a wnel ddaioni, nac oes un.* *Ps.* 14. 3. *Rhuf.* 3. 12. *Y mae pawb, Iuddewon a Groegwyr, dan bechod. Nid oes neb cyfiawn, nac oes un. Pawb a bechasant, ac ydynt yn ol am ogoniant Duw.* *Rhuf.* 3. 9, 10, 23. Mae y gwirionedd galarus hwn, i'w weled yn amlwg trwy yr holl Ysgrythyrau Sanctaidd;

ac y mae bucheddau dynion o bob oed, gradd, a sefyllfa, trwy holl wledydd y byd, yn profi yn gadarn, mai gwirionedd dwyfol ydyw. Y mae dynion yn gadael y gyfraith; *Ps.* 119. 53. ymbellhau oddiwrth y gyfraith; *Adn.* 150. ceisio diddymmu y gyfraith; *Adn.* 126. diystyru a dirmygu y gyfraith; *Esa.* 5. 24. *Amos* 2. 4. ei hanghofio; *Hos.* 4. 6. a phechu yn ei herbyn; *Hos.* 8. 1. Mae y fath elyniaeth mewn dynion at gyfraith Duw, fel y gellir dywedyd, mai eu hunig reswm i ddewis llawer o bechodau, ydyw, bod y ddeddf yn eu gwahardd; ac i esgeuluso amryw rinweddau, ydyw, am fod y gyfraith yn eu gofyn. Pe cymharem fucheddau dynion, ie, y glanaf o honynt, âg esponiad Crist ar y ddeddf yn *Mat.* 5. dywedem fel y gair yn *Esa.* 64. 6. *Yr ydym ni oll megis peth aflan.* Nid oes meddwl, gair, na gweithred, fel y dylent fod. *Os ydyw pallu mewn un pwngc.* yn gwneuthur dyn yn euog o'r cwbl, pa faint mwy euog yw y rhai sydd yn pallu mewn pob pwngc? ac nid yn unig pallu, ond ei throseddu o egwyddor, yn ewyllysgar hefyd? Nid rhyfedd oedd i'r Psalmydd waeddi allan, *Pwy a saif?* *Ps.* 130. 3. a pha fodd y cyfiawnheir dyn? *Ps.* 143. 2.

III. *Er hynny y mae tuedd ym mhob dyn i geisio cyfiawnder a bywyd trwy y ddeddf.* Y mae yn beth naturiol i ddyn geisio bywyd, neu geisio bod yn ddedwydd. Y mae hefyd yn naturiol iddo ei geisio trwy y cyfammod y byddo efe dano; a chan fod pob dyn wrth natur o dan y cyfammod gweithredoedd, a than y ddeddf fel yr oedd hi yn sefyll yn hwnnw, y mae yn dueddol iddo geisio bywyd trwy y ddeddf, trwy y *gorchymyn yr hwn ydoedd i fywyd.* Er fod dyn yn elyn i'r ddeddf, ac yn droseddwr o honi mewn meddwl, gair, a gweithred, y mae yn ceisio, ac yn disgwyl bywyd trwyddi; *ei geisio trwy weithredoedd y ddeddf,* *Rhuf.* 9. 31. *ceisio gosod eu cyfiawnder eu hunain.* *Rhuf.* 10. 3. A phan y tybiont fod ganddynt ryw rinweddau yn ei hwyneb, yna *y maent yn ymorphwys yn*

*y ddeddf*, *Rhuf.* 2. 17. ïe, y maent *yn chwennych bod dan y ddeddf*. *Gal.* 4. 21. Er nad ydynt yn caru y ddeddf, nac ufuddhau iddi, etto, y maent yn ewyllysio bod yn ddedwydd; ac am eu bod yn tybied mai trwy eu cyfiawnder a'u rhinweddau y mae bod yn ddedwydd, neu gael bywyd tragywyddol, y maent yn ceisio gwneuthur cyfiawnder o ryw beth ynddynt, neu a wneir ganddynt eu hunain; megis, eu bod heb wneuthur rhai pechodau ag y mae rhai eraill yn eu gwneuthur; cyflawni rhyw ddyledswydd; rhyw ddymuniadau da ynddynt; galaru llawer oblegid rhai pechodau a wnaethant; gweddïo llawer am drugaredd; cydsynio â'r Efengyl; ïe, â ffydd fel eu gwaith, &c. Ond ofer yw eu llafur yn ceisio eu cyfiawnhau a'u cymmeradwyo gyda Duw trwy y pethau hynny, a'r cyffelyb. Ni saif y pethau hyn yn gyfiawnder iddynt yn wyneb purdeb y Barnwr, na manylrwydd ei gyfraith. *Bratiau budron* ydynt. Mae yn rhaid i'r ddeddf gael ufudd-dod perffaith, neu rhaid i'r dyn farw. *Rhuf.* 6. 23. Mae y *ddeddf yn ysprydol, a thra ehang;* cyrhaedd yr holl ddyn, yr enaid cystal a'r corph; y meddyliau a'r amcanion, cystal a'r geiriau a'r gweithredoedd: ac y mae diffyg cydffurfiad â hi mewn un pwngc, yn gwneuthur y dyn yn euog o'r cwbl: y mae pob pechod yn ei herbyn, neu drosedd o honi, yn haeddu cosp annhraethol; ïe, marwolaeth dragywyddol. Ni chollodd, ac ni chyll y ddeddf ei gallu a'i hawdurdod i ofyn dyn, er i'r dyn golli egwyddor a gallu i'w chadw hi; er fod y dyledwr yn wan i dalu, y mae hi yn gryf i ofyn, ac i gospi. Felly, mae y troseddwyr dan goll-farn, a than felldith yn ei hwyneb; er fod miloedd o honynt mor ynfyd a disgwyl bywyd trwyddi. Ond er bod y ddeddf *yn weinidogaeth angau, a gweinidogaeth damnedigaeth*, 2 *Cor.* 3. 7, 9, y mae gafael dyn mor gryf am gael bywyd trwyddi, fel nad oes ond gallu Duw a wna iddo ollwng ei afael o honi; ïe, fe ymdrecha dyn, trwy bob dyfais, am gael ei gyfiawnhau trwy y

ddeddf, ac ni rydd hynny i fyny er neb nes cael ei ladd ganddi, a'i ladd iddi. *Rhuf.* 7. 10. *Gal.* 2. 19.

IV. *Y mae pob dyn wrth natur dan felldith y ddeddf.*— Mae y ddeddf, fel yr oedd hi yn sefyll yn y cyfammod gweithredoedd, yn cyhoeddi melldith ar bob troseddwr—y mae pob dyn yn droseddwr, a phob troseddwr sydd heb gredu yng Nghrist yn aros o dan ei melldith. *Melldigedig yw pob un nad yw yn aros yn yr holl bethau.* *Deut.* 27. 26. *Gal.* 3. 10. Melldith Duw, neu felldith deddf Duw, ydyw bygythion y ddeddf, fel yr oedd hi yn y cyfammod cyntaf, *gan farw ti a fyddi farw.* Bod dan y felldith yw bod yn agored i'r holl ddrygau a fygythiwyd; bod wedi eu neillduo i ddrwg; *Deut.* 29. 21. bod yn agored i ddigofaint Duw; *Ioan* 3. 36. *digofaint Duw yn aros arno;* bod dan anfoddlonrwydd Duw; bod yn agored i bob trallod, gofid, a thrueni, yn y byd hwn; yn agored i golyn angau, ac i drueni, ac angau tragywyddol yn y byd a ddaw. Y mae pechod yn haeddu angau, ie, angau tragywyddol; dyma *gyflog pechod:* nid rhyw fath o bechod yn unig, ond cyflog *pechod,* pa fath bynnag; ie, pechod pe na byddai ond un. Y mae pechod yn drosedd o'r ddeddf—y mae yr hwn a *ballo mewn un pwngc yn euog o'r cwbl;* a'r hwn sydd yn euog o'r cwbl yn haeddu digofaint Duw. Mae y fath ddrwg mewn pechod, na all un creadur ei amgyffred; a'r fath fawredd afnadwy yn y felldith a'r gosp deilwng i'r dyn o'i blegid, na ellir ei ddeall byth. Y mae pechod yn erbyn y Duw anfeidrol, a digofaint y Duw anfeidrol yn gyfiawn i'r troseddwr. O, ni ellir adrodd byth drueni y rhai sydd dan felldith y ddeddf! Y mae eu cyrph a'u heneidiau dan felldith a digofaint; y maent ym meddiant satan; a *Duw yn ddigllon beunydd* wrthynt. *Ps.* 7. 11—13. Y maent yn felldigedig yn eu bywyd; ac yn agored i fod yn felldigedig yn eu marwolaeth: ac, yn y farn, *Ewch oddi wrthyf rai melldigedig.* *Mat.* 25. 41—46.

Dyma ydyw cyflwr pob dyn sydd dan y ddeddf, ac yn ceisio cyfiawnhad a bywyd trwyddi; ie, dyma gyflwr y mwyaf defosiynol a rhinweddol ar y ddaear yng nghyflwr natur: Melldigedig medd y ddeddf uwch eu pennau, yng nghanol eu cyfiawniadau manylaf; a'u cyfiawnder perffeithiaf; ie, pan y maent hwy yn eu tywyllwch yn disgwyl cael eu derbyn, a'u cymmeradwyo gyda Duw. Pan y gwelo dyn fawredd a phurdeb anfeidrol y Barnwr, manylrwydd, sancteiddrwydd, ysprydolrwydd, ac anghyfnewidioldeb y gyfraith, a sefyllfa dyn fel pechadur yn wyneb y ddeddf, bydd yn naturiol iddo waeddi allan, *Pa fodd y cyfiawnheir dyn gyda Duw?* Job 9. 2. *a phwy a ddichon sefyll?* Ps. 130. 3. *Trwy weithredoedd y ddeddf ni chyfiawnheir un cnawd yn ei olwg ef.* Rhuf. 3. 20. *Ac na chyfiawnheir neb trwy y ddeddf ger bron Duw, eglur yw,* Gal. 3. 11. Y mae yn rhaid cyfiawnhau pechadur yn wyneb y ddeddf os cyfiawnheir ef: ni ddiystyra y Barnwr y ddeddf i gyfiawnhau neb: y mae yn rhaid cael y cyfiawnder y mae y ddeddf yn ei ofyn, cyn y gellir cyfiawnhau neb: ni fedd un dyn y cyfiawnder hwnnw, ac ni all un dyn ei wneuthur; am hyn y mae *y ddeddf yn wan trwy y cnawd* i gyfiawnhau pechadur, *Rhuf.* 8. 3. Felly, y mae y dyn yn rhwym i fod dan felldith y ddeddf byth o'i ran ei hun: nid oes un math o deilyngdod yn y dyn i gael ei gyfiawnhau gan Dduw; nac un math o rwymau ar Dduw i'w gyfiawnhau; etto, dywedir yn yr Ysgrythyr, fod Duw *yn cyfiawnhau yr annuwiol;* felly, mae yn eglur mai o'i ras yn unig y mae efe yn gwneuthur.

### V. *Gras penarglwyddiaethol Duw ydyw yr achos gwreiddiol a chynhyrfiol o Cyfiawnhad Pechadur.*

Wrth ystyried yr hyn a ddywed yr Ysgrythyr am fawredd a phurdeb Duw, fel Barnwr cyfiawn; ac am fanylrwydd ac ysprydolrwydd y gyfraith frenhinol anghyfnewidiol, ac am sef-

yllfa dyn fel troseddwr euog ac aflan yn wyneb y gyfraith, ger bron ei farnwr, y mae yn rhyfedd fod yr un Ysgrythyr sanctaidd yn dywedyd, fod Duw yn cyfiawnhau; ïe, yn cyfiawnhau yr annuwiol! *Rhuf.* 8. 33. a 4. 5. Onid yw yn addas i ni ymofyn, Beth yw yr achos cynhyrfiol ei fod yn cyfiawnhau pechadur? a oedd dyled neu rwymau arno i wneuthur hyny? neu, a ydyw y pechadur yn haeddu hyn oddiar ei law ef? Byddai yn gabledd meddwl am fynud fod yr un o'r ddau yn bod. Pa beth? dyled ar Dduw, yr hwn sydd yn *dân ysol,* ac yn lanach ei lygaid nac y gall edrych ar ddrwg, i gyfiawnhau troseddwr ei gyfraith sanctaidd; un heb ddim da yn trigo, a'i gyfiawnder yn *fratiau budron!* A oes rhyw un mor rhyfygus a dywedyd, fod dyn sydd yn elyn Duw, yn wrthryfelwr yn erbyn ei lywodraeth, a than felldith a digofaint Duw, yn haeddu cael ei gyfiawnhau ganddo? Ni allasai un creadur wybod am un achos oni buasai fod Duw wedi egluro *dirgelwch ei ewyllys,* yn ei Efengyl werthfawr. A thyna y mae y gair yn ei ddywedyd i ni am y cynhyrfiol achos i gyfiawnhau pechadur, mai ei ras ef ydyw. *A hwy wedi eu cyfiawnhau yn rhad, trwy ei ras ef.* *Rhuf.* 3. 24. *Yn ol ei drugaredd yr achubodd efe ni.* *Tit.* 3. 5. *Fel, wedi ein cyfiawnhau trwy ei ras ef, y'n gwneid yn etifeddion yn ol gobaith bywyd tragywyddol.* *Adn.* 7. *O herwydd ei fawr gariad, trwy yr hwn y carodd efe ni.——Trwy ras yr ydych yn gadwedig.* *Eph.* 2. 4, 5. Oni buasai gras Duw, ni buasai cadwedig un cnawd. Gan mai gras yw y gwreiddyn, a'r achos cynhyrfiol o gyfiawnhad a iachawdwriaeth pechaduriaid, ni a sylwn yn fanylach ar ras Duw, yn y golygiadau a rydd yr Ysgrythyrau i ni arno.

I. *Am arwyddoccad y gair Gras, yn y geiriau sydd yn sôn am gyfiawnhau, a bod yn gadwedig trwy ras.*

II. *Bod yr Ysgrythyrau yn dangos, fod iachawdwriaeth pechaduriaid yn gwbl ac yn hollol o ras.*

III. *Mai gras y Drindod, neu ras yn y Tri Phersonau*

*Dwyfol; y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân, ydyw yr achos gwreiddiol o gyfiawnhad pechaduriaid.*

IV. *Fod ym mwriad Duw, wrth drefnu iachawdwriaeth, a llunio y ffordd i gyfiawnhau pechaduriaid, gael mawl a gogoniant i'w ras, a chau ymffrost oddiwrth ddyn.*

V. *Fod gras yn gweithredu yn y cyfiawnhad, yn unol â gogoniant Duw yn ei holl briodoliaethau, ac âg anrhydedd ei gyfraith a'i lywodraeth.*

I. Sylwn, *ar arwyddocead y gair gras, yn y geiriau sydd yn sôn am gyfiawnhau, a bod yn gadwedig trwy ras.*—Er fod y gair gras yn arwyddo amryw bethau yn yr Ysgrythyrau, ni a sylwn yma ond ar ei ystyr yn y lleoedd y sonir am *gyfiawnhau trwy ras*, a bod yn *gadwedig trwy ras*. Yn y mannau hynny, meddylir ffafr rad Duw; ffafr i rai hollol annheilwng; ïe, ffafr i rai yn haeddu llid, a digofaint Duw. Y mae tri gair yn cael eu harfer i osod allan yr un peth, sef, *cariad, trugaredd*, a *gras*. Y mae *cariad* Duw yn arwyddo, ewyllysio daioni i'r gwrthddrychau a garodd, a'u cael ar ei ddelw ei hun; ïe, y cyfryw ag y gall ymhyfrydu ynddynt byth. Y mae y gair *trugaredd*, yn arwyddo ei fod yn gwneuthur daioni, ac yn rhoi ymgeledd i wrthddrychau truenus iawn. A'r gair *gras* yn dangos ei fod yn gwneuthur hynny yn eithaf rhad. Trugaredd ydyw cariad i'r truenus; a gras yw cariad i'r annheilwng. Felly, y mae yn amlwg fod gras Duw, trwy yr hwn y mae cyfiawnhau, a chadw pechaduriaid, yr un peth a chariad rhad Duw. Yr oedd yr apostol Paul yn arfer y tri gair, yn *Eph.* 2. 4—7. ac yn cylymmu rhyw gyfenw ardderchog wrthynt, i ddangos mai oddi yno y mae ein holl iachawdwriaeth yn tarddu: *Cyfoethog o drugaredd; ei fawr gariad; rhagorol olud ei ras;* a'r cwbl yn cael eu cynnwys yn y gair gras. *Trwy ras yr ydych yn gadwedig. Adn.* 8. Felly, y mae y gair gras, pan arferir yn yr ystyr hyn, yn arwyddo cariad rhad Duw at bechaduriaid, a'i ffafr rad iddynt.

1. Ffafr rad, yn arwyddo, nad oedd gorfod nac angenrheidrwydd ar Dduw garu un pechadur o ddynolryw, na gwneuthur ffafr iddo: gweithredu yn rhydd wrth ei ewyllys ei hun yr oedd Duw wrth greu dyn; *Dad.* 4. 11. felly, gweithredu yn rhydd, heb nac anghen na gorfod, wrth achub pechadur. Y mae yn gweithredu yn hyn *wrth gynghor ei ewyllys ei hun.* *Eph.* 1. 11.

2. Ffafr rad, yn arwyddo, nad yw y gwrthddrychau yn deilwng. Nid oes dim mewn dyn yn haeddu ei gyfiawnhau, na'i gadw; rhodd yw y cwbl; o ras y mae yr iachawdwriaeth yn hollol.

3. Ffafr rad, yn arwyddo, nad oes dim cymhelliad i Dduw achub neb; dim mewn dyn ond pechod a thrueni. Pwy bynnag a achubir, rhaid mai o ras y bydd hynny. O ras yn hollol y mae bod rhyw bechaduriaid yn cael eu hachub; ac o ras y mae bod y naill mwy na'r llall.

II. *Y mae yr Ysgrythyrau yn dangos bod iachawdwriaeth pechaduriaid yn gwbl ac yn hollol o ras.*—Y mae pob rhan o'r iachawdwriaeth yn cael ei phriodoli i ras Duw. *Efengyl gras Duw* yw *Efengyl ein hiachawdwriaeth.* Gras a osododd y sylfaen yn adeilad iachawdwriaeth. *Eph.* 1. 4. Gras sydd yn cyrchu a chymhwyso y defnyddiau. *Eph.* 1. 7. a 2. 5. a 4. 13, 14. Gras a orphen y gwaith, ac a *ddwg allan y maen pennaf;* yno y bydd gwaeddi, *Rhad, rhad iddo.* *Zech.* 4. 7. Ethol i iachawdwriaeth, o ras; *Eph.* 1. 4, 5. *Rhuf.* 11. 5. Prynedigaeth, o ras; *Eph.* 1. 7. Galwedigaeth, o ras; 2 *Tim.* 1. 9. Cyfiawnhad, o ras; *Rhuf.* 3. 24. *Tit.* 3. 7. Sancteiddiad, o ras; *Tit.* 3. 5. Gogoneddiad, o ras; *Eph.* 2. 6, 8. bod yn gadwedig, yn berffaith o ras.

Pan ystyriom pa fath yw y dyn sydd yn cael ei achub, cawn weled yn amlwg fod yn rhaid bod iachawdwriaeth o ras yn hollol.

1. Pan ystyriom waeledd dyn. O, y fath waeledd yw y

goreu o ddynion; gras rhyfedd yn y Duw mawr oedd meddwl ei achub! O'r pridd y daeth; llwch a lludw ydyw; mewn tŷ o glai y mae yn preswylio; malurir ef yn gynt na gwyfyn. *Job* 4. 19. Darfu i un o'r brenhinoedd goreu roi y gair pryf ym mhlith ei *deitlau*; *Ps.* 22. 6. a'r mwyaf o feibion y dwyrain alw y pryf yn fam, a chwaer iddo. *Job* 17. 14. Y mae holl drigolion y ddaear o flaen Duw *fel locustiaid*; *Esa.* 40. 22. ie, yn llai na hynny, *fel mân lwch y cloriannau*; *Adn.* 15. a llai etto, *megis diddim, a llai na dim*; *Adn.* 17. Nid rhyfedd fod y Psalmydd yn gwaeddi allan, *Pa beth yw dyn i ti i'w gofio? a mab dyn i ti ymweled âg ef?* *Ps.* 8. 4. Ni buasai dim yn peri i Dduw tragywyddoldeb achub dyn ond rhad ras. Syned daear a nefoedd, fod y Duw mawr, yr hwn na all y nef ei gynnwys, ac sydd yn *ymostwng i edrych pethau yn y nefoedd*, wedi ymostwng i drefnu iachawdwriaeth i ddyn, sydd lai na gwagedd, ac anfon ei Fab i fod yn Iachawdwr iddo! O ras rhyfedd!

2. Pan ystyriom wrthuni, aflendid, a thrueni dyn, fel pechadur, y mae efe fel dyn yn llai na dim; ond fel pechadur yn waeth na dim. *Tywyllodd yr aur coeth da*; y dyn a wnaed ar ddelw Duw, wedi ei cholli, a myned ar ddelw y diafol, yn wrthun, yn ffiaidd, a drewedig. *Job* 15. 16. *Esa.* 64. 6. Y mae yn llawn o wahanglwyf pechod; nid oes dim hawddgar na phrydferth ynddo; etto, O ras anfeidrol! carodd Duw, sydd lanach ei lygaid nag y gall edrych ar ddrwg, y fath yma!

3. Pan ystyriom elyniaeth y pechadur yn erbyn Duw, gallwn weled yn eglur, na buasai dim ond gras, ie, gras anfeidrol, yn bwriadu achub y fath elyn. Er ei fod yn wael a gwan, pe buasai yn caru Duw, gallasai haeru, fod rhyw beth ynddo i annog Duw i'w achub; ond nid oes dim cariad at Dduw ynddo, ond y mae y pethau goreu sydd ynddo yn elyniaeth yn erbyn Duw; *syniad y cnawd yn elyniaeth*; *Rhuf.* 8. 7. a'r elyniaeth yn dangos ei hun mewn gwrthwynebiad i'w ddeddf, a'i

orchymynion; 1 *Ioan* 5. 3. anufudd-dod yn tarddu o'r elyniaeth. Mae y dyn hefyd megis mewn cyfammod â diafol, prif elyn Duw, ac yn dywedyd yn ei iaith yn debyg i'r rhai yn *Esa.* 28. 15. Y maent yn defnyddio pob aelod megis arf i ymladd â Duw. *Rhuf.* 6. 19.——Y mae y dyn am wadu Duw, ac yn dirmygu ei briodoliaethau, a gwrthod ei lywodraeth. Dyma agwedd pob dyn hyd oni orchfygo anfeidrol ras ef; ie, nid gwaith hawdd yw gorchfygu y gelyn, i gymmeryd ei achub; y mae efe y fath elyn i Dduw, na fyn efe ei achub ganddo yn y drefn ogoneddus sydd gan Dduw i gadw pechaduriaid; *Ond ni fynnwch ddyfod attaf fi, fel y caffoch fywyd.* *Ioan* 5. 40.

Pa beth ond *gras*, a chariad rhad, a allasai fod yn gynhyrfiol achos i Dduw achub y fath elyn? Gwelwn hynny ond ystyried holl-ddigonolrwydd, a hunan-ymddibyniaeth Duw.

1. Y mae Duw yn holl-ddigonol; nid oedd arno eisiau yr un, er dedwyddwch na gogoniant iddo; ac ni allasai creu neu achub dyn chwanegu un gradd at y naill na'r llall. Yr oedd Duw yn berffaith ddedwydd a gogoneddus ynddo ei hun erioed. Hyfryd a dedwydd beunydd. *Diar.* 8. 22, 30. Y mae gogoniant anfeidrol ynddo, na welodd un creadur, ac na all un creadur weled ond pelydrau bychain o hono byth. *Exod.* 33. 18, 20. Byddai yn gabledd i ni gynnwys meddwl am un mynud, fod modd i greadur llai na dim, a phechadur gwaeth nac uffern, chwanegu at ddedwyddwch neu ogoniant y Duw anfeidrol! Y mae yn wir y gwelir gogoniant, cariad, gras, a doethineb Duw yn ei waith yn achub pechaduriaid; ac y mynegir ei rinweddau, ac y datganir ei ogoniant oblegid hyn, gan angelion a dynion byth. Ond ni ellir dywedyd, fod angenrheidrwydd am hynny ar Dduw; oblegid buasai Duw mor ogoneddus, ac mor ddedwydd, pe na buasai yn creu un creadur, nac achub un pechadur. Buasai yr haul mor ogoneddus pe na buasai yr un llygaid i'w weled, nac un creadur rhesymol i'w

ryfeddu. Gweithred rydd o eiddo Duw oedd amlygu gogoniant ei briodoliaethau yn iachawdwriaeth dynion. Felly, y mae yn amlwg mai o ras a chariad rhad Duw yn unig y mae iachawdwriaeth pechadur yn tarddu. Dim eisiau y dyn na dim a all ef ei wneuthur byth. Gwel *Job* 22. 2, 3. *Ps*. 16. 2. —*Rhyngu bodd, gweled yn dda* achub y mae Duw. *Mat*. 11. 25, 26. *Luc* 10. 21. *Yn ol boddlonrwydd ei ewyllys*. *Eph*. 1. 5.

2. Y mae yn eglur, wrth ystyried penarglwyddiaeth Duw, fod iachawdwriaeth pechaduriaid o ddynolryw o ras yn unig ac yn hollol. Y pethau canlynol yn profi hynny: 1. Gallasai ymfoddloni ynddo ei hun, heb greu yr un creadur, *Dad*. 4. 11. neu, er creu, heb achub un.——2. Neu, gan y mynnai ei amlygu ei hun i greaduriaid, gallasai wneuthur rhai ardderchocach na dyn; y mae yr *angelion yn fwy mewn gallu a nerth*. ——3. Wedi iddo weled yn dda roi bôd i ddyn, nid oedd dyled arno ei gyfodi wedi iddo syrthio, na maddeu iddo ar ol iddo bechu. Gallasai ei ddifodi, neu ei gospi byth. *Dan*. 4. 35. ——4. Os mynnasai Duw ddangos ei gariad a'i ddaioni wrth achub creaduriaid colledig, gallasai wneuthur hynny wrth achub rhai o'r angelion a bechodd.——5. Neu, os dyn truenus a fynnai gael yn wrthddrych i amlygu gogoniant ei ras yn ei iachawdwriaeth, paham yr achubai gymmaint nifer? oni buasai ychydig o lestri trugaredd yn dangos ei ddaioni yn rhyfedd byth? Ni buasai ond gras anfeidrol yn achub un!——6. Paham y mae efe yn achub y rhai y mae efe yn achub mwy nag eraill? Nid oes atteb i'w roddi, ond ei fod yn achub *yn ol boddlonrwydd ei ewyllys*, ac o'i anfeidrol ras: *y neb y mynno y mae efe yn trugarhau wrtho*. *Rhuf*. 9. 18. Felly, gwelwn, fod yr holl iachawdwriaeth yn ol ei arfaeth ef, a'i ras. O, molianned Sïon Dduw am ei rad ras!

III. *Gras y Drindod*, neu *ras yn y Tri Phersonau Dwyfol, y Tad, y Mab, a'r Yspryd Glân, ydyw yr achos gwreiddiol o*

*gyfiawnhad pechadur.*—*Wedi eu cyfiawnhau yn rhad trwy ei ras ef.* *Rhuf.* 3. 24. O'n tu ni y mae *yn rhad*, heb haeddiant na theilyngdod, nac achos o hono ynom ni. Y gair *rhad*, yn arwyddo gwneuthur yn ddiachos, fel *Ps.* 35. 7, 19. *Ioan* 15. 25. O du Duw, gras ydyw, ffafr benarglwyddiaethol, heb un math o ddyled na rhwymau arno ein cyfiawnhau. Gallwn weled hynny ond i ni ystyried, 1. Ein cwymp, ein hetiogrwydd, ein llygredd, a'n trueni wrth natur. *Pawb a bechasant, ac ydynt yn ol am ogoniant Duw.* *Rhuf.* 3. 23. Pawb o dan goll-farn yn gyfiawn, heb ddim ynddynt yn haeddu eu rhyddhau.——2. Mai y Duw y pechasom yn ei erbyn yw y Barnwr: Efe a roddodd y ddedfryd i farw ar ddynolryw yn Eden; y mae ei *farn* ef *yn ol gwirionedd*, ac y mae efe yn ddigyfnewid byth. *Iago* 1. 17.——3. Fod y gyfraith a droseddasom *yn sanctaidd, yn gyfiawn, ac yn dda;* a Duw yn rhwym yn naturiol i'w hamddiffyn hi.——4. Fod y fath ddrwg dirfawr mewn pechod, fel y mae Duw, o herwydd sancteiddrwydd a chyfiawnder ei natur, yn rhwym i'w gashau a'i gospi i'r eithaf.

Gan fod y pethau hynny felly, onid ydyw yn anfeidrol ryfedd fod Duw yn cyfiawnhau; ie, yr annuwiol? Gwaeddwyd ar nefoedd a daear i synnu uwch ben llai rhyfeddod; ie, nid oes ym mysg y rhyfeddodau, ryfeddod gymmaint a bod Duw yn cyfiawnhau yr annuwiol! Ni all fod achos gwreiddiol cynhyrfiol i hyn, ond cariad, gras, a thrugaredd benarglwyddiaethol Duw: ie, cyfoeth ei drugaredd, a *rhagorol olud ei ras ef.*

Wrth son am ras y Tri Pherson Dwyfol, nid ydym i feddwl am dri math o ras; oblegid nid oes tri math o briodoliaethau yn y Duwdod; yr un sancteiddrwydd, doethineb, gallu, cariad, a daioni sydd yn y Tad, y Mab, a'r Yspryd Glân; felly gras, neu ffafr rad, yr un ydyw yn y Tri Phersonau. Ond y mae gan bob un o'r Personau ei waith neillduol yn yr iachawdwriaeth,

ac yng nghyfiawnhad pechadur; felly, y mae gras yn gweithredu yn neillduol ym mhob Person, yn y gwaith neillduol sydd gan y Person; oddiar ras, neu gariad rhad, y mae gwaith y Tri Pherson yn yr iachawdwriaeth yn tarddu.

1. *Gras yn y Tad* oedd yr achos iddo feddwl a bwriadu yn nhragywyddoldeb gyfiawnhau pechaduriaid mewn amser, yn ol ei arfaeth ei hun a'i ras. 2 *Tim.* 1. 9. *Yn ol boddlonrwydd ei ewyllys ei hun, Eph.* 1. 5. *Yn ol cyfoeth ei ras. Adn.* 7. *Yn ol ei foddlonrwydd ei hun. Adn.* 9. *Wrth gynghor ei ewyllys ei hun. Adn.* 11.——1. Trefnodd ffordd, yn ei ddoethineb anfeidrol a'i ras, i gyfiawnhau yr annuwiol, na allasai angel na dyn, lunio na meddwl am ei chyffelyb byth. Cyfammododd y Personau Dwyfol i fyned â'r gwaith ym mlaen mewn amser, yn ol y drefn honno. Gwel *Ps.* 40. 6, 7, 8. *Esa.* 49. 3—8. *Zech.* 6. 12, 13. *Ioan* 17.——2. Yn ei ras anfeidrol y danfonodd ei Fab i'r byd yng nghyflawnder yr amser. *Gal.* 4. 4. *Felly y carodd—fel y danfonodd. Ioan* 3. 16. Rhoes ein pechodau *arno—a mynnodd ei ddryllio. Esa.* 53. 5,—7. *Gwnaeth ef yn bechod;* ac *nid arbedodd ef.* 2 *Cor.* 5. 21. *Rhuf.* 8. 32. *Fel y'n gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef.*——3. Yn ei ras, cymmeradwyodd y cyfiawnder a wnaeth Crist, i'w gyfrif i'r rhai oll a gredant ynddo ef. *Yn yr hwn y'm boddlonwyd. Mat.* 17. 5. Er fod ufudddod Crist ynddo ei hun, a'r fath berffeithrwydd ynddo, fel y mae yn addas i gyfiawnder dwyfol ei dderbyn a'i gymmeradwyo; ac hefyd yr oedd yn atteb i'r ammodau yn y cyfammod mor ddigoll, nad oedd gan y Tad, fel pen-cyfammodwr o du priodoliaethau a llywodraeth y Duwdod, ddim yn ei erbyn. Gras yn unig oedd trefnu ei dderbyn gan y mechnïydd, yn lle gofyn y dyledwyr, a'u cospi byth am fod yn ol o hono.——4. Y Tad, yn ei ras, sydd yn cyfrif cyfiawnder Crist i'r rhai a gredant ynddo. Nid oedd dim yn y rhai sydd yn credu, yn flaenorol i gredu, yn haeddu i'r Tad gyfrif cyfiawnder Crist

iddynt; ac nid oes dim yn eu gwaith yn credu yn teilyngu iddynt gael cyfrifiad o hono: *Am hynny, o ffydd y mae, fel y byddai yn ol gras.* *Rhuf.* 4. 6, 16.

2. *Gras yn y Mab* oedd yr achos iddo, 1. Gymmeryd achos pechaduriaid yn y cyfammod tragywyddol, a myned yn fechniydd drostynt yn y cyfammod. *Heb.* 7. 22. Yn ei ras anfeidrol yr ymrwymodd i roddi iawn drostynt, a gwneuthur cyfiawnder perffaith iddynt. *Ps.* 40. 8. *Dan.* 9. 24. *Esa.* 53. 11. *Jer.* 23. 6. *Mal.* 4. 2.——2. Yn ei ras y daeth i'r byd, y cymmerodd natur dyn, ac agwedd gwas. *Chwi a adwaenoch ras ein Harglwydd Iesu Grist, iddo ef ac yntau yn gyfoethog, fyned er eich mwyn chwi yn dlawd.* 2 *Cor.* 8. 9. Gwnaeth gyfiawnder perffaith oedd yn boddloni cyfiawnder dwyfol; *Rhuf.* 3. 26. yn atteb i'r ddeddf, ac yn ei mawrhau; *Esa.* 42. 21. yn gymmeradwy gan Dduw; *Esa.* 53. 10. yn berffaith ac addas i ddynion. *Rhuf.* 10. 4. Mae y cyfiawnder y fath ag y gellir ymddiried ynddo; y mae Crist fel pen a mechniydd wedi ei gyfiawnhau. *Esa.* 45. 25. 1 *Tim.* 3. 16. ——3. Y mae o'i anfeidrol ras yn eiriol am gael gwisgo ei bobl â'i gyfiawnder. *Esa.* 53. 12. *Zech.* 3. 4. *Gwisgaf di hefyd â newid dillad.* Pan y mae y pechadur yn credu yng Nghrist, y mae ef yn cael ei wisgo â *mantell cyfiawnder;* y mae y cyfiawnder hwn ar bawb sydd yn credu. *Rhuf.* 3. 22.

3. Y mae gan yr *Ysbryd Glân* law yng nghyfiawnhad pechadur; ac *o'i ras anfeidrol y mae efe yn gweithio.*—1. Efe sydd yn argyhoeddi dynion o'u pechod a'u hanghyfiawnder, ac yn dangos fod arnynt eisiau cyfiawnder gwell na'r eiddynt eu hunain. *Ioan* 16. 8.——2. Efe sydd yn neshau cyfiawnder Crist at y pechadur argyhoeddedig. *Esa.* 46. 13. *Nesheais fy nghyfiawnder.* Gweinidogaeth cyfiawnder yw gweinidogaeth yr Yspryd. 2 *Cor.* 4. 6. Mae y pechadur argyhoeddedig yn dueddol i weled cyfiawnder Crist yn rhyw le ym mhell o'i gyrhaedd. *A'r peth sydd bell a dwfn iawn, pwy a'i caiff?*

Ond y mae yr Yspryd Glân trwy yr Efengyl yn dwyn cyfiawnder Crist i ymyl y pechadur. *Rhuf.* 1. 17. a 10. 8. *Cymmeryd o'r eiddo Crist, a'i fynegi iddynt.* *Ioan* 16. 15.—— 3. Efe yn ei ras sydd yn gweithio ffydd yn enaid y pechadur i weled gwerth, i gymmeradwyo, ac i dderbyn cyfiawnder Crist. *Rhodd Duw,—gweithrediad Duw* yw ffydd. *Eph.* 2. 8. *Col.* 2. 12. Sonir am *Yspryd ffydd*, 2 *Cor.* 4. 13. i ddangos mai yr Yspryd Glân sydd yn gweithio ffydd fywiol.——4. Yr Yspryd Glân sydd yn dangos gogoniant cyfiawnder Crist o newydd, ac yn rhoi nerth newydd i'r enaid i bwyso arno; ac yn dwyn tystiolaeth yn eu cydwybodau, weithiau, eu bod hwy yn gyfiawn. *A ni wedi ein cyfiawnhau trwy ffydd, y mae gennym heddwch.* *Rhuf.* 5. 1. Felly y mae yn eglur iawn, mai yn rhad trwy ras y Tri Pherson yn y Duwdod y mae cyfiawnhau pechadur; gras yn llunio y ffordd—gras yn gwneuthur y cyfiawnder—gras yn ei ddangos, ac yn ei gymhwyso.

IV. *Yr oedd ym mwriad Duw, wrth drefnu iachawdwriaeth, a llunio ffordd i gyfiawnhau pechadur, gael mawl a gogoniant i'w ras; a chau ymffrost oddiwrth ddyn.*— Egluro ei ogoniant ei hun ydyw diben pennaf Duw yn ei holl weithredoedd. *Yr Arglwydd a wnaeth bob peth er ei fwyn ei hun.* *Diar.* 16. 4. Amlygodd ogoniant ei allu a'i Dduwdod wrth greu; *Ps.* 19. 1—6. *Rhuf.* 1. 20. yn ei waith yn cynnal a llywodraethu pob peth, yn cael tystion iddo ei hun; *Act.* 14. 17. cael ei ogoneddu yn ei gyfiawnder a'i gasineb at bechod, wrth dywallt barnedigaethau; *Lef.* 10. 3. *Ezec.* 28. 22.—*dangos ei ddigofaint a pheri adnabod ei allu*, wrth ddamnio yr anedifeiriol. *Rhuf.* 9. 22. Felly, y mae yn ewyllysio gogoneddu ei ras, a chanmol ei gariad wrth achub pechaduriaid a chyfiawnhau yr annuwiol. *Er mawl gogoniant ei ras—mawl ei ogoniant ef.* *Eph.* 1. 6, 12. *Dangos yn yr oesoedd a ddeuai ragorol olud ei ras.* *Eph.* 2. 7. *O ffydd y mae, fel y byddai yn ol gras.* *Rhuf.* 4. 16. Cauwyd gorfoledd

neu ymffrost allan trwy ddeddf ffydd. *Rhuf.* 3. 27. *Y mae Duw yn canmol ei gariad.* *Rhuf.* 5. 8. *Ac yn peri gwybod golud ei ogoniant ar lestri trugaredd.* *Rhuf.* 9. 23. Bydd mawl a gogoniant i'w ras, am drefnu y fath ffordd i gyfiawnhau pechadur euog; am anfon ei Fab i'r byd i ufuddhau yn berffaith, i wneuthur cyfiawnder; am fynnu ei ddryllio, am beidio ei arbed; am anfon ei Yspryd i argyhoeddi y pechadur tywyll a diofal o bechod, ac na thalai ei gyfiawnder ei hun; ac am ddangos cyfiawnder Crist iddo, a'i dueddu a'i nerthu i'w gymmeradwyo a'i dderbyn, a phwyso arno. Gras Duw gaiff y clod i gyd; *Iddo ef y byddo y gogoniant.* Pe buasai cyfiawnhad trwy weithredoedd, buasai lle i ddyn ymorfoleddu, neu ymffrostio. *Rhuf.* 4. 3, 4. Ond gan fod cyfiawnhad trwy ffydd, y mae ymffrost yn cael ei gau allan trwy *ddeddf*, trefn, neu athrawiaeth ffydd. *Rhuf.* 3. 27. *O ffydd y mae, fel y byddai yn ol ras.* *Rhuf.* 4. 16. Ac y mae yn ol gras, *fel na orfoleddai un cnawd ger ei fron ef.* 1 *Cor.* 1. 29, 31.

1. Nid oes dim sail na rheswm gan neb i ymffrostio. Nid oedd un llaw gan ddyn *yn y trefniad;* yr oedd hwnnw cyn bod un creadur, yn ol cynghor ewyllys Duw ei hun. *Pwy a fu gynghorwr iddo ef?* *Rhuf.* 11. 34. Nid oedd un llaw gan ddyn yn gwneuthur y cyfiawnder; gweithredoedd y ddeddf ydyw rhai goreu dyn; ni all i dragywyddoldeb wneuthur rhai gwell nag y mae y ddeddf yn ei ofyn; ac etto, *trwy weithredoedd y ddeddf ni chyfiawnheir un cnawd yn ei olwg ef.* *Rhuf.* 3. 20. *Crist yw diwedd y ddeddf, er cyfiawnder.* *Rhuf.* 10. 4. Nid oes chwaith un llaw gan ddyn yn cymhwyso y cyfiawnder, neu yn ei wneuthur ei hun yn gyfiawn. Nid trwy ddoethineb, na rhinwedd o'i eiddo ei hun, y daeth neb i weled eisiau y cyfiawnder hwn, a'i werth, a'i gymhwysder; nac i'w gymmeradwyo, na phwyso arno. Y mae pawb wrth natur yn dywyll am dano; ac ni fynnant ymostwng iddo. *Rhuf.* 10. 3. Yspryd Duw sydd yn argyhoeddi o gyfiawnder.

*Ioan* 16. 8. *A rhodd Duw ydyw y* ffydd sydd yn derbyn y cyfiawnder. *Eph.* 2. 8. Nid oes neb yn teilyngu ffydd; derbyn yn rhad y maent. *Pwy sydd yn gwneuthur rhagor? Os derbyniaist, paham yr wyt ti yn gorfoleddu?* Y mae pob sail i ymffrostio wedi ei ddinystrio.

2. Y mae Duw yn dwyn pawb y mae efe yn eu cyfiawnhau i weled nad oes ganddynt le i ymffrostio; ac i amgylchiadau nes allant, ac na fynnant ymffrostio. Y mae Duw yn eu hargyhoeddi o bechod, yn deffro eu cydwybodau, fel y gwelont eu hunain dan bechod, *Rhuf.* 3. 23. *Gal.* 3. 22. ac yn agored i ddigofaint Duw. *Ioan* 3. 36. Y mae efe yn danfon y ddeddf yn ei hysprydolrwydd at eu cydwybodau, nes y gwelont eu cyfiawnderau yn fratiau budron; yn dòm a cholled; yna y mae eu gobaith deddfol yn marw. *Rhuf.* 7. 9, 10. *Gal.* 2. 19. *Esa.* 64. 6. *Phil.* 3. 7, 8. Yna y mae y dyn yn wag a thlawd, heb ddim i ymffrostio ynddo, oni bae iddo ymffrostio mewn bratiau a dòm. Y mae yn gweled nad oes modd ei gyfiawnhau byth, oni wneir yn rhad trwy ras, a thrwy ufudddod un arall. *Esa.* 45. 24. Y mae yn gweled na chyfiawnha Duw ef heb gyfiawnder. *Ps.* 130. 3. Yna y mae yn gwaeddi allan, *Cair fi ynddo ef, heb fy nghyfiawnder fy hun. Phil.* 3. 9. Nid yw fod y cyfiawnhad trwy ffydd, neu fod y pechadur sydd yn cael ei gyfiawnhau yn credu yng Nghrist, yn rhoi un lle i'r dyn ymffrostio; ac nid oes ymffrost yn natur ffydd. Mae y dyn sydd yn credu, yn ei weled ei hun yn dlawd, heb ddim: *Bydd drugarog wrthyf bechadur*, yw ei iaith. *Luc* 18. 13. Darfu am dano—ffoi i'r noddfa am ei fywyd y mae. *Heb.* 6. 18. Y mae yn ymaflyd yng Nghrist fel mechnïydd, yn wyneb y llys, er cywilydd iddo ei hun, anrhydedd i'r gyfraith, a gogoniant i'r mechnïydd. Y mae y pechadur yn edrych at Grist, myned atto, ac yn ymaflyd ynddo trwy ffydd, fel y mae efe yn cael ei ddal allan yn yr Efengyl, yn geidwad dyn colledig. *Rhodd Duw yw ffydd;* nid oes ymffrost yn

perthyn i'r dyn o'i phlegid; trwy ffydd y mae efe yn ffoi oddiwrth felldith a digofaint; bydd y gogoniant oll i rad ras, am ddechreu a gorphen y gwaith: *Nid i ni; nid i ni.*

V. *Y mae gras yn gweithredu yn y cyfiawnhad yn unol â gogoniant Duw yn ei holl briodoliaethau, ac âg anrhydedd ei gyfraith a'i lywodraeth.*—Er fod cyfiawnhad pechadur yn tarddu o gariad a gras Duw yn unig, etto y mae doethineb anfeidrol wedi trefnu y fath ffordd i ras weithredu yn y cyfiawnhad, fel y mae holl briodoliaethau y Duwdod yn ogoneddus yn y gwaith. *Cyfiawnhau yn rhad trwy ras;* etto, *trwy y prynedigaeth sydd yng Nghrist Iesu. Rhuf.* 3. 24. *Hwn a osododd Duw yn Iawn, i ddangos ei gyfiawnder ef—fel y byddai efe yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhau y neb sydd o ffydd Iesu. Adn.* 25, 26. Er fod Duw, yn ei anfeidrol ras, yn cyfiawnhau troseddwyr y gyfraith, y mae yn gwneuthur hynny mewn ffordd ag sydd yn rhoddi yr anrhydedd a'r mawredd mwyaf i'r gyfraith; *Cyflawni cyfiawnder y ddeddf ynom ni. Rhuf.* 8. 4. *Crist yw diwedd y ddeddf, er cyfiawnder i bob un sydd yn credu. Rhuf.* 10. 4. Gwnaeth gyfiawnder oedd yn atteb i'r manylrwydd eithaf i'w holl ofyniadau hi. Er fod Duw yn ei ras yn cyfiawnhau pechadur; etto, y mae yn gwneud hynny mewn ffordd ag y mae yn dangos y casineb mwyaf at bechod; ïe, ffordd ag y cafodd pechod ei gospi yn ol ei haeddiant yn ddiarbed. *Am bechod a gondemniodd bechod yn y cnawd. Rhuf.* 8. 3. *Efe a archollwyd am ein camweddau ni, efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni; cospedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef. Esa.* 53. 5. *I wneuthur cymmod dros anwiredd, ac i ddwyn cyfiawnder tragywyddol. Dan.* 9. 24. Dyma ffordd ogoneddus i gyfiawnhau pechadur; gras yn teyrnasu trwy gyfiawnder, pob priodoledd ddwyfol yn ogoneddus, y gyfraith yn y bri mwyaf, pechod yn cael ei gospi, a'r pechadur yn cael ei gyfiawnhau! Gan fod Duw yn gyfiawn wrth gyfiawnhau, y mae yn rhaid ei fod yn gwneuthur y

dyn yn gyfiawn trwy ryw gyfiawnder. Ni a ymofynwn, Beth yw y cyfiawnder hwnnw?

## VI. *Ufudd-dod Crist ydyw y cyfiawnder y gwneir pechadur yn gyfiawn trwyddo.*

Gan mai gweithred Duw fel Barnwr ydyw cyfiawnhau pechadur, y mae yn rhaid cael cyfiawnder perffaith iddo, cyn y gall Duw, sydd yn barnu yn ol gwirionedd, ei farnu yn gyfiawn. Ymadrodd rhyfedd, llawn dirgelwch, ydyw bod *Duw yn cyfiawnhau pechadur.* Mae y gair *cyfiawnhau* yn arwyddo barnu un yn gyfiawn; a'r gair *pechadur* yn dangos nad oes gan hwn gyfiawnder ei hun: ac y mae *barn Duw yn ol gwirionedd.* Pa fodd y gall y *Barnwr cyfiawn* gyfiawnhau pechadur? y mae yn amlwg fod yn rhaid cael cyfiawnder rhyw un arall iddo. Ni all Duw, fel Barnwr cyfiawn, ei farnu yn gyfiawn heb gyfiawnder; na barnu dim yn gyfiawnder i'r dyn, ond yr hyn a fyddo yn atteb yn berffaith i'r ddeddf foesol, yn ei ehangrwydd a'i hysprydolrwydd eithaf. Y mae hyn wedi cael ei ddangos a'i brofi yn yr hyn a ddywedwyd am y Barnwr, ac am y ddeddf.

Gan fod hyn o gymmaint pwys, a chan fod y perygl mwyaf i bechadur geisio, neu ddisgwyl cael ei gyfiawnhau trwy ryw beth nad yw yn gyfiawnder yng ngolwg y Barnwr, ac yn wyneb y ddeddf, rheol y farn; ni a sylwn ar y ddau beth a ganlyn; sef,

I. *Nad oes gan ddyn wedi pechu, y cyfiawnder y mae y ddeddf yn ei ofyn; ac nad oes dim sydd ynddo, nac a wneir, neu a ddioddefir ganddo, a all fod yn gyfiawnder iddo.*

II. *Mai ufudd-dod Crist, yn ei fywyd a'i farwolaeth, ydyw yr unig gyfiawnder y gall pechadur gael ei gyfiawnhau trwyddo ger bron Duw.*

I. *Nad oes gan ddyn wedi pechu, y cyfiawnder y mae y ddeddf yn ei ofyn; ac nad oes dim sydd ganddo, nac a wneir,*

*neu a ddioddefir ganddo, a all fod yn gyfiawnder iddo ger bron Duw.*—Y mae hyn i'w weled yn amlwg i'r darllenydd, ond iddo ystyried yr hyn a ddywedwyd am sefyllfa dyn fel troseddwr yn wyneb y ddeddf. Ond gan fod cymmaint o duedd mewn dyn i geisio cael ei gyfiawnhau trwy ryw bethau o'i eiddo ei hun, a'r perygl o gam-gymmeryd mor fawr, ni a sylwn yn fyrr etto, Beth a ddywed yr Ysgrythyr?

1. Nad oes neb cyfiawn wrth natur. *Nid oes dyn ni phecha,* 1 *Bren.* 8. 46. *Nid oes neb a wnel ddaioni, Ps.* 14. 3. Y mae pechodau pawb mor aml, fel na wyddant eu rhif: *Pwy a ddeall ei gamweddau? Ps.* 19. 12. *Nid oes dyn cyfiawn ar y ddaear, Preg.* 7. 20. *Job* 9. 3. a 15. 14, 16. Dywedodd y rhai oedd yn eu hadnabod eu hunain oreu, *Yr ydym ni oll megis peth aflan, ac megis bratiau budron yw ein holl gyfiawnderau ni, Esa.* 64. 6. Y mae pob dyn yn bechadur, a than goll-farn yn Adda, *Rhuf.* 5. 12, 15, 18.—y mae pob dyn felly hefyd o anian ac egwyddor: *Syniad y cnawd yn elyniaeth, Rhuf.* 8. 7.—ac yn bechaduriaid mewn geiriau a gweithredoedd beunydd: *Beth yw yr hwn a aned o wraig i fod yn gyfiawn?*

2. Er hyn oll, y mae y dyn tywyll, balch, yn ceisio ei gyfiawnhau ei hun, trwy lawer o ffyrdd; trwy ei rinweddau, a thrwy ei ddigwyddiadau, ei ddymuniadau, ei weddïau, a'i edifeirwch, a'r peth y mae efe yn ei alw ufudd-dod Efengylaidd a diffuant. Y mae dyn yn *ewyllysio ei gyfiawnhau ei hun, Luc* 10. 25, 29. *Ceisio gosod eu cyfiawnder eu hunain, nid ymostyngant i gyfiawnder Duw. Rhuf.* 10. 3. Ond y mae digon wedi cael ei ddywedyd mewn un gair, i brofi nad oes modd cyfiawnhau pechadur trwy ddim a wnelo; sef, *trwy weithredoedd y ddeddf ni chyfiawnheir un cnawd yn ei olwg ef. Rhuf.* 3. 20. Nid trwy weithredoedd y ddeddf seremonïol; ond trwy weithredoedd y ddeddf, sydd yn dywedyd nes cau pob genau; ac o herwydd troseddu hon y mae yr holl fyd

dan farn Duw, *adn.* 19 sef, y ddeddf fotsol. Gweithredoedd y ddeddf yw gweithredoedd goreu dyn; ni all wneuthur byth bethau gwell nag y mae hi yn ei ofyn; pe carai ef Dduw â'i holl galon, a'i gymmydog fel ef ei hun, ni byddai hynny ond gweithredoedd y ddeddf; pe gallai gyrhaedd perffeithrwydd, ni wnai hynny gyfiawnder iddo; oblegid ei bechodau o'r blaen, a bod ei berson yn anghymmeradwy. Ni fyn y ddeddf ddim llai na pherffeithrwydd yn gyfiawnder; nid yw yn derbyn diben na dymuniad yn lle gweithred; na di-ragrithrwydd yn lle perffeithrwydd. Gwel yr hyn a ddywedwyd am anghyfnewidfoldeb y ddeddf.

3. Y mae un ffordd etto gan ddynion sydd yn gwrando yr Efengyl i geisio eu cyfiawnhau eu hunain ger bron Duw; sef, trwy geisio gwneuthur cyfiawnder o'r ffydd y maent yn dybied sydd ganddynt. Mae y dyb hon yn fwy peryglus, oblegid ei bod yn ymddangos yn debyccach i'r gwirionedd. Gan fod yr Ysgrythyrau yn sôn cymmaint am gyfiawnhau trwy ffydd, y mae y camgymmeriad hwn, yn yr olwg gyntaf arno, yn lled debyg i'r gwir. Pa debyccaf fyddo peth twyllodrus i beth gwirioneddol, mwyaf yw y perygl i ddyn gael ei dwyllo; oblegid nid yw y peth tebyccaf i'r gwir, ddim mwy ei werth na'r peth annhebyccaf, os nad y gwir fydd: hefyd, y mae i ddyn gael ei dwyllo mewn peth o werth mawr, yn berygl mawr. Y mae yn wir mai trwy ffydd y mae cyfiawnhau, ond y mae yn wir hefyd, nad ffydd yw y cyfiawnder y cyfiawnheir pechadur trwyddo. Yr oedd yr apostol Paul yn arfer manylrwydd mawr i ddangos hynny. *Ynddi hi* (sef yr Efengyl) *y datguddir cyfiawnder Duw o ffydd i ffydd.* *Rhuf.* 1. 17. Datguddir yn yr Efengyl gyfiawnder o osodiad Duw i gyfiawnhau pechadur, nid yw yn cael ei ddatguddio yn un lle arall: ac i ffydd y datguddir ef; nid oes ond ffydd yn ei weled: y mae yn cael ei ddatguddio o athrawiaeth ffydd i'r gras o ffydd: ac, fel y cynnyddo ffydd o radd i radd, y mae gogoniant a rhyfeddodau

y cyfiawnder yn dyfod i'r golwg, o radd i radd, yn gyfattebol. Drachefn, *y cyfiawnder sydd o Dduw, trwy ffydd; Phil.* 3. 9. felly, gan mai i ffydd y datguddir y cyfiawnder, a chan mai o Dduw trwy ffydd y mae, eglur yw nad ffydd ydyw; nis gall y peth sydd trwy ffydd, a ffydd, fod yr un peth. Gellir profi, trwy amryw resymau cedyrn, nad ffydd yw y cyfiawnder y gwneir y pechadur sydd yn credu yn gyfiawn trwyddo.

1. Er y sonir yn yr Ysgrythyrau yn fynych am gyfiawnhau *trwy* ffydd, nid oes un gair yn sôn am gyfiawnhau *am* ffydd.

2. Dyledswydd yn wyneb y ddeddf yw credu; pe amgen, ni byddai anghredu yn bechod: amlwg yw, na chyfiawnheir neb ger bron Duw trwy weithredoedd y ddeddf. *Rhuf.* 4. 4. *Gal.* 2. 16. a 3. 12. Pe yr haerid mai ufudd-dod i'r Efengyl yw credu; ufudd-dod y dyn ei hun a fyddai felly; ac os gelwir credu yn gyfiawnder, byddai yn rhaid mai cyfiawnder y dyn ei hun a fyddai; ond nid oedd *Paul* am anturio i wyneb Duw yn ei gyfiawnder ei hun. *Phil.* 3. 9.

3. Pe ffydd fyddai y cyfiawnder, byddai y gwobr o ddyled, ac nid o ras; *Rhuf.* 4. 4, 6. ac ni byddai ymffrost yn cael ei gau allan. *Rhuf.* 3. 27.

4. Pe ffydd fyddai y cyfiawnder, nid cyfiawnhau yr annuwiol y byddai Duw; *Rhuf.* 4. 4, 6. oblegid yr hwn sydd â chyfiawnder ganddo, i Dduw ei gyfiawnhau ef trwyddo, nid oedd yn annuwiol yn flaenorol i'w gyfiawnhad.

5. Pe ffydd fyddai y cyfiawnder, byddai ein cyfiawnder yn ammherffaith; ac os felly, ni byddai barn Duw yn ol gwirionedd, wrth ein cyfrif yn gyfiawn. *Rhuf.* 2. 2. Ond bydded Duw yn eirwir, pe byddai pob dyn yn gelwyddog. Ni chyfrif Duw neb yn gyfiawn, ond mewn cyfiawnder perffaith: ond nid yw ffydd yn berffaith, fel y gŵyr pawb sydd yn ei meddu: a phe byddai ffydd yn berffaith, ni byddai hi ond un peth o lawer y mae y ddeddf yn ei ofyn; ond ufudd-dod perffaith yw cyfiawnder.

6. Pe ffydd fyddai y cyfiawnder, byddai mwy o gyfiawnder gan y naill na'r llall; oblegid mawr yw ffydd rhai, a rhai ó ychydig ffydd yw y lleill.

7. Pe ffydd fyddai y cyfiawnder, gallai y pechadur crediniol bwyso arni, ac ymorfoleddu ynddi ger bron Duw, a'i dadleu mewn gweddi; yn lle bod fel y saint gynt, yn gweddïo, *Na ddos i farn â'th wâs;* ac arall yn cyfrif ei gyfiawnder ei hun yn *dòm a cholled.*

8. Cyfiawnder Duw, trwy ffydd Iesu Grist, sydd ar bawb a gredant. *Rhuf.* 3. 22. Felly, nid ffydd yw y cyfiawnder, ond trwy ffydd y mae ar y rhai a gredant.

9. Yr hyn yw diwedd y ddeddf yw y cyfiawnder sydd yn gwneuthur y rhai a gredant yn gyfiawn. *Rhuf.* 10. 4. Nid ffydd yw diwedd y ddeddf, ond ufudd-dod Crist iddi, yr hyn oedd yn lloned ei gofyniadau i'r eithaf.

10. *Trwy ufudd-dod un y gwneir llawer yn gyfiawn. Rhuf.* 5. 19. Nid ffydd yw hynny; ufudd-dod y dyn ei hun yw credu.

Gellid arfer amryw resymmau eraill i brofi, nad ffydd yw y cyfiawnder sydd yn cyfiawnhau pechadur, neu nad ffydd yw y cyfiawnder a gyfrifir iddo. Os nad yw holl ufudd-dod dyn yn ddigonol i fod yn gyfiawnder iddo ger bron Duw, pa fodd y gall ffydd fod yn gyfiawnder iddo, yr hon pe byddai berffaith, nad yw ond rhan o'r ufudd-dod a ofynir ganddo? Pa gyssondeb sydd mewn cau allan holl weithredoedd dyn, megis yn annigonol i fod yn gyfiawnder perffaith iddo, ac wedi hynny derbyn un o'r gweithredoedd ammherffaith hynny, a'i chyfrif yn gyfiawnder perffaith iddo?

Ond y mae yn afreidiol ymhelaethu; edryched y darllenydd yr hyn a ddywedwyd am berffeithrwydd ac anghyfnewidioldeb y ddeddf; ac am ynfydrwydd y tybiau am ddeddf newydd dynerach: yn wyneb hynny, syrth y dychymmyg am ffydd yn gyfiawnder i'r pechadur i'r llawr.

Ond y mae un wrthddadl yn cael ei harfer yn erbyn yr hyn a ddywedwyd i brofi nad ffydd yw y cyfiawnder, ac yn ymddangos i rai yn wrthddadl gref, am ei bod yn cael ei sylfaenu ar eiriau sydd yn yr Ysgrythyr; sef, yn *Gen.* 15. 6. a *Rhuf.* 4. 3, 9. a *Iago* 2. 23. *Credodd Abraham i Dduw, a chyfrifwyd iddo yn gyfiawnder.*

Y mae yn eglur iawn nad oedd yr apostol yn profi, fod gwaith Abraham yn credu yn cael ei gyfrif gan Dduw yn gyfiawnder iddo, i gymmeradwyo ei berson gyda Duw; oblegid yr oedd yr apostol yn dywedyd ddarfod cyfrif ffydd i Abraham yn gyfiawnder, i brofi nad trwy weithredoedd y mae cyfiawnhau dyn, ac mai nid trwy weithredoedd y cyfiawnhawyd Abraham. *Rhuf.* 4. 2, 4, 5. Pe ei waith yn credu, neu ffydd fel egwyddor ynddo, fuasai ei gyfiawnder ger bron Duw, buasai yn cael ei gyfiawnhau trwy ei waith, a'i gyfiawnder ei hun: felly, buasai yr apostol yn profi yr hyn oedd efe yn geisio ei wadu, sef, mai trwy weithredoedd y cyfiawnheir dyn ger bron Duw. Ond y mae yn amlwg nad ei ffydd, fel egwyddor, rhinwedd, na gwaith, a gyfrifwyd i Abraham yn gyfiawnder; ond yr oedd trwy ffydd yn gweled Crist, yn cael ei gynnwys yn yr hâd oedd Duw yn addaw iddo. Gwel *Gen.* 12. 3. a 15. 5, 6. a 22. 18. *Gweledd ei ddydd, a llawenychodd.* *Ioan* 8. 56. Gwelodd mai ynddo ef y bendithid holl dylwythau y ddaear; ac mai trwy ei angau ef y deuai bendith Abraham ar y cenhedloedd. *Gal.* 3. 13, 14. Credodd ynddo ef ei hun—ymddiriedodd ei achos iddo; pe amgen ni buasai yn llawenychu wrth weled ei ddydd ef. A feiddia rhyw un ddywedyd, nad trwy ffydd yng Nghrist y cadwyd Abraham? Diau ei fod yn credu ynddo, ac yn pwyso ar ei ufudd-dod yn byw a marw, am gymmeradwyaeth gyda Duw: ac ufudd-dod yr hâd addawedig hwnnw, yr oedd yn ymaflyd ynddo trwy ffydd, a gyfrifwyd iddo yn gyfiawnder. Y mae hyn i'w weled yn amlwg, oblegid yr un peth ag a gyfrifwyd i Abraham yn gyfiawnder, a gyfrifir yn gyfiawnder i

bawb a gredant yng Nghrist. Gwel *Rhuf.* 4. 11, 22, 23, 24. Y mae yn eglur iawn nad ffydd Abraham a gyfrifir yn gyfiawnder i ni; ond ufudd-dod yr hâd a addawyd iddo. *Yr hwn a draddodwyd dros ein pechodau ni, ac a gyfodwyd i'n cyfiawnhau ni. Rhuf.* 4. 25. Y mae yr un peth ag a gyfrifwyd i Abraham yn gyfiawnder, yn cael ei alw *cyfiawnder ffydd, Rhuf.* 4. 13. a *chyfiawnder y ffydd, Adn.* 11. felly, gwelwn nad ffydd, ond ei gwrthddrych yw y cyfiawnder. Y mae dull felly o lefaru yn aml yn y Bibl: arferir y gair *gobaith* am yr hyn y gobeithir ynddo, *Rhuf.* 8. 24. *Col.* 1. 5, 27. *Jer.* 14. 8. 1 *Tim.* 1. 1. felly, arferir y gair *ffydd*, am wrthddrych ffydd, *Gal.* 3. 23. ac am athrawiaeth ffydd, *Gal.* 1. 23. *Act.* 24. 24. Dywedodd Crist am y bara, *hwn yw fy nghorph*, am ei fod yn cael ei osod yn arwydd i ddangos ei gorph drylliog ef: felly, ffydd yn cael ei galw cyfiawnder, am ei bod wedi ei gosod gan Dduw, fel moddion neu offeryn, i weled, i gymmeradwyo, ac i dderbyn *y cyfiawnder sydd o Dduw trwy ffydd.* Trwy edrych ar y sarph yr oedd yr Israeliaid yn cael iachâd; etto, nid yn yr edrychiad yr oedd y rhinwedd, ond yn ordinhad Duw: felly, hefyd, dywedir fod ffydd yn iachau y cleifion, *Act.* 3. 16. ond nid ffydd oedd yr achos effeithiol o'u iachâd,—achos offerynol, neu foddion yn unig ydoedd.——Felly, yng nghyfiawnhad pechadur, cyfiawnhau trwy ffydd ydyw; etto, nid ffydd yw y cyfiawnder, ond offeryn neu foddion ydyw i dderbyn y cyfiawnder. Ond ni a sylwn yn helaethach am ffydd, pan elom i ddywedyd am ei natur, ei lle, a'i gwaith yn y cyfiawnhad.

Y mae yr hyn a ddywedwyd yn ddigon i brofi nad oes dim yn y dyn, nac a wneir gan y dyn syrthiedig, a all fod yn gyfiawnder iddo ger bron Duw.

Y mae ein natur, fel y profwyd, yn llygredig hollol; ein buchedd yn wrthryfelgar; anufudd a fuom yn ein holl ymddygiadau. Ni all y Barnwr gymmodi âg un pechod, nac edrych

ar un pechod yn fychan a diniwed. Mae y gyfraith, fel y profwyd, yn anghyfnewidiol; ni all ofyn llai i ddyn cwympedig, llygredig, nac i ddyn perffaith. Nid oedd y cyfnewidiad ar ddyn trwy bechod yn rhoi un math o rwymau ar Dduw i newid ei ddeddf; ie, ni allasai, yn unol â'i gyfiawnder a'i ddoethineb, ei newid. Mae y ddeddf mor berffaith, fel na allai Duw ei gwneuthur yn well; a Duw mor berffaith, fel na fynnai ei gwneuthur yn waeth. Ac y mae y tybiau am ddeddf newydd, fel y profwyd o'r blaen, yn rhoi anfri a dirmyg ar Dduw. Pa beth ? y Duw sanctaidd yn diddymmu deddf berffaith, yn gofyn perffeithrwydd, i gael lle i ddeddf nad yw yn gofyn perffeithrwydd, ond yn goddef pechod! a dywedyd hyn i gael lle i haeru, fod Barnwr cyfiawnder yn barnu rhai yn gyfiawn ar gyfrif peth nad yw gyfiawnder! Pwy a all beidio golygu y tybiau uchod yn gabledd?

Ond gan fod Duw yn Farnwr anfeidrol gyfiawn, a'r ddeddf fel rhëol cyfiawnder yn ddigyfnewid, a phob dyn yn droseddwr o honi, yn ei natur a'i ymddygiad, mewn meddyliau, geiriau, a gweithredoedd, mae yn eglur na chyfiawnheir un cnawd trwy un rhyw gyfiawnder o'i eiddo; ni all dim a wnelo y cyfryw fod yn gyfiawnder; ac ni all Duw farnu y dyn yn gyfiawn mewn dim heb fod yn gyfiawnder. Ni all ei edifeirwch na'i ddiwygiadau, ei ddymuniadau da, ei weddïau na'i ffydd, fod yn gyfiawnder iddo ger bron Duw: y mae ei berson yn anghymmeradwy, a'i bethau goreu yn llawn ammherffeithrwydd, ei gyfiawnderau oll yn *fratiau budron*. Os meddyliwn sefyll o flaen gorsedd Duw ein hunain, a cheisio dadleu rhyw beth o'n heiddo, neu o'n gwaith ein hun: *ni allwn atteb um un peth o fil; caeir pob genau:* ni bydd gan neb ddim i'w ddywedyd drosto ei hun; rhaid gwaeddi allan, Euog, euog. Ac nid oes gobaith bod yn gyfiawn ger bron Duw, oni wneir ni yn gyfiawn trwy gyfiawnder un arall. Fel y mae yr Ysgrythyr yn dangos fod Duw yn cyfiawnhau yr annuwiol, y mae hefyd yn dangos beth

yw y cyfiawnder y mae pechadur yn cael ei wneuthur yn gyfiawn ynddo: gan na fedd ef gyfiawnder ei hun, na modd i wneuthur yr un chwaith, y mae yn rhaid ei gyfiawnhau trwy ufudd-dod neu gyfiawnder un arall, neu ei adael dan goll-farn byth, a'i gospi yn ol y ddedfryd honno. Bellach, y mae yn hawdd gweled,

II. *Mai ufudd-dod Crist, yn ei fywyd a'i farwolaeth, ydyw yr unig gyfiawnder y gall pechadur gael ei gyfiawnhau trwyddo ger bron Duw.*—Mae y bobl a gedwir i fywyd tragywyddol yn cael eu dwyn i fod yr un farn, a'r un brofiad a'r apostol Paul, ac i ddywedyd, fel yntau, *Ac y'm cair ynddo ef* (sef Crist) *heb fy nghyfiawnder fy hun;* *Phil.* 3. 9. ac fel yr eglwys gynt, *Yn yr Arglwydd y mae i mi gyfiawnder a nerth.* *Esa.* 45. 24. Yr hwn y mae cyfiawnder i bechadur ynddo yw yr Arglwydd Iesu Grist. *A hyn fydd ei enw, ar yr hwn y gelwir ef, yr Arglwydd ein Cyfiawnder.* *Jer.* 23. 6. *Y gwas cyfiawn a gyfiawnha lawer.* *Esa.* 53. 11. *Trwy ufudd-dod un y gwneir llawer yn gyfiawn;* *Rhuf.* 5. 19. sef yr un *Iesu Grist.* *Adn.* 17. *Fel y'n gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef.* 2 *Cor.* 5. 21. Yr un peth a feddylir wrth *gyfiawnder un*, yn *Rhuf.* 5. 18. ag *ufudd-dod un*, yn *adn.* 19. lle y gwelwn, mai ufudd-dod Crist yw y cyfiawnder i gyfiawnhau pechadur ger bron Duw. Yn yr Efengyl yn unig y datguddir cyfiawnder i ddyn euog sefyll ynddo ger bron Duw, y Barnwr cyfiawn. *Ynddi hi y datguddir cyfiawnder Duw.* *Rhuf.* 1. 17. Y mae hi yn dangos bod cyfiawnder perffaith wedi cael ei ddarparu; ïe, wedi ei orphen i bechaduriaid; a chyfiawnder gogoneddus iawn ydyw, *cyfiawnder Duw.* Cyfiawnder o ordeiniad Duw, a wnaeth y Duw-ddyn, sydd wrth fodd Duw, ac yn gymmeradwy ganddo. *Cyfiawnder Duw heb y ddeddf* ydyw. *Rhuf.* 3. 21. Y mae yn gydffurfiad perffaith â'r ddeddf, yn atteb yn llawn iddi yn eithaf ei pherffeithrwydd; oud nid o'n hufudd-dod ni i'r

ddeddf y mae; nid ni yn ein hymdrechiadau deddfol a'i gwnaeth; nid dim o'n gwaith ydyw; ond cyfiawnder sydd yn ddawn, neu yn rhodd rad i ni; *dawn cyfiawnder*, *Rhuf.* 5. 17. Rhodd Duw i'r tlawd euog noeth; ni wnaethom ef, ac ni haeddasom ef. Ond er mai *dawn* neu *rodd* ydyw i ni, gwaith Crist ydyw, ei ufudd-dod ef, ie, ei ufudd-dod hyd angau y groes. *Phil.* 2. 8. Gan fod cyfiawnder i gyfiawnhau pechadur yn cael ei ddatguddio yn yr Efengyl; ie, ei ddatguddio yw prif waith yr Efengyl; gelwir hi *gweinidogaeth cyfiawnder*, 2 *Cor.* 3. 9. Trwyddi y mae yr Yspryd Glân yn datguddio cyfiawnder Crist i bechadur argyhoeddedig, ac yn nesau y cyfiawnder hwn i gyrhaedd dyn euog erynedig. Ni a chwiliwn yn fanylach, beth a ddywedir yn y datguddiad dwyfol am dano; oblegid nid oes dim o gymmaint pwys; ein bywyd yw cael cyfiawnder i fod yn gymmeradwy ynddo ger bron Duw, *cyfiawnhad bywyd*. Am hyny, y mae yn beryglus bywyd i ni gam-gymmeryd am y cyfiawnder. Wrth sylwi ar yr amrywiol bethau a ganlyn, gallwn, os rhydd yr Arglwydd grasol ei oleuni, weled natur a gogoniant y cyfiawnder yn well.

I. Sylwn, *Ar y Person a wnaeth y cyfiawnder hwn.*

II. *Fod y cyfiawnder wedi cael ei wneuthur ganddo yn ôl y cyfammod tragywyddol rhwng y Personau Dwyfol mewn perthynas iddo.*

III. *Fod y cyfiawnder wedi cael ei wneuthur yn y natur a bechodd.*

IV. *Fod Crist wedi gwneuthur y cyfiawnder, nid yn unig yn ein natur ni, ond hefyd yn ein lle, fel Pen-cynddrychiolwr, a Mechnïydd yr Eglwys.*

V. *Fod ufudd-dod neu gyfiawnder Crist fel Mechnïydd, wrth fodd y Tad, ac yn gymmeradwy ganddo.*

VI. *Ardderchawogrwydd a gogoniant cyfiawnder Crist.*

I. *Am y Person a wnaeth y cyfiawnder hwn.*—Y mae yn angenrheidiol anhebgorol cael meddwl uniawn am y Person a

wnaeth y cyfiawnder, cyn y gellir meddwl yn addas am y cyfiawnder a wnaeth; ni allwn weled rhyfeddodau yr ufudd-dod, heb adnabod y person a ufuddhaodd. *Ufudd-dod un*—rhyw un rhyfedd a diggyffelyb! Y mae llawer o rai ufudd, yr angelion glân yn ufudd; ond ni allai eu hufudd-dod hwy oll wneuthur neb arall yn gyfiawn; ïe, ni wnaethai ufudd-dod llawer o honynt un pechadur yn gyfiawn. Ond y mae yr Efengyl yn datguddio *ufudd-dod un* sydd yn gwneuthur llawer, ïe, tyrfa fawr na ddichon neb ei rhifo, yn gyfiawn, ïe, yn berffaith gyfiawn byth! Pwy yw yr un rhyfedd hwn? *Un uwch na'r nefoedd*, *Heb.* 7. 26.—*un uwchlaw pawb*, *Rhuf.* 9. 5.—*un ni thybiodd yn drais fod yn ogyfuwch â Duw*, *Phil.* 2. 6.—un sydd *yn un â'r Tad*, *Ioan* 10. 30.—*disgleirdeb ei ogoniant, a gwir lun ei berson ef*, *Heb.* 1. 3.—*delw y Duw anweledig*—un y crewyd pob peth trwyddo—ac y mae pob peth yn cydsefyll ynddo, *Col.* 1. 15, 16, 17.—*y gwir Dduw, a'r bywyd tragywyddol* ydyw, 1 *Ioan* 5. 20.—*y Gair oedd yn y dechreuad gyda Duw*, ïe, *y Gair a wnaethpwyd yn gnawd*, mewn amser, *Ioan* 1. 1, 2, 14.—*Mab Duw, ei Fab ei hun, ei brïod Fab*, a ddanfonodd y Tad yng nghyflawnder yr amser i'r byd, *wedi ei wneuthur o wraig*, i gymmeryd *agwedd gwas*, *Rhuf.* 8. 3, 32. *Gal.* 4. 4. Dyma yr un anfeidrol a ufuddhaodd, ac a gyflawnodd bob cyfiawnder, ac *a ddygodd gyfiawnder tragywyddol* i mewn. *Dan.* 9. 24. Cyfryngwr rhwng Duw a dynion, a meichnïydd y cyfammod ydyw. Gan fod y Person mor fawr, y mae mawredd anfeidrol yn yr ufudd-dod; digon i wneuthur yr euog yn gyfiawn; ïe, digon i wneuthur llawer, miloedd o filoedd; tyrfa na ellir ei rhifo, yn gyfiawn yn y llys uchaf, o flaen y Barnwr puraf, yn wyneb y gyfraith fanylaf. Ond gellir gofyn, Pa fodd yr oedd yn bossibl i un oedd uwchlaw pawb ufuddhau? Un uwchlaw y ddeddf, ufuddhau i'w ddeddf ei hun? Y mae hyn yn anfeidrol ryfedd; ond cawn weled pa fodd yr ufuddhaodd wrth ystyried yr ail peth am y cyfiawnder, sef,

II. *Fod y cyfiawnder wedi cael ei wneuthur gan Grist, yn ol y cyfammod tragywyddol rhwng y Personau Dwyfol mewn perthynas iddo.*—Wrth sôn am gyfiawnder Crist i gyfiawnhau pechadur, nid ydym i feddwl am ei gyfiawnder hanfodol, fel person tragywyddol yn y Duwdod; oblegid ni ellir galw y cyfiawnder hwnnw yn ufudd-dod, na dywedyd ei fod yn ol y ddeddf, ond yn hytrach bod y ddeddf yn ol y cyfiawnder hwnnw. Ond y cyfiawnder yr ydym ni yn cael ein gwneuthur yn gyfiawn trwyddo, ydyw ufudd-dod Crist, fel pen-cyfammodwr, fel ail Adda, Ie, fel mechnïydd yn y cyfammod tragywyddol, dros bechaduriaid o ddynolryw. Gwnaeth Crist y cyfiawnder hwn yn ol gosodiad Duw yn y cyfammod tragywyddol hwnnw. Y mae ein holl iachawdwriaeth; felly, y drefn i'n cyfiawnhau, wedi tarddu o gariad a gras tragywyddol Duw. Er bod yn anhawdd amgyffred, ac arfer geiriau addas am beth yn y Duw anfeidrol yn nhragywyddoldeb diddechreu; etto, gallwn weled yn amlwg, yn y datguddiad dwyfol, fod cynghor a chyfammod yn nhragywyddoldeb ynghylch achub pechaduriaid o ddynolryw. Pan oedd Zechariah yn prophwydo am Grist, dan yr enw y Blaguryn, ac yn dywedyd yr adeiladai efe deml yr Arglwydd, sef ei eglwys, ac y dygai ef y gogoniant, ac yr eisteddai yn offeiriad ar ei frenhin-faingc, dywedodd, *A chynghor hedd a fydd rhyngddynt ill dau.* Zech. 6. 13. Y cynghor hedd ydyw y cyfammod hedd rhwng y Tad a'r Mab ynghylch adeiladu eglwys o ddynolryw. Mae y gair, *a fydd rhyngddynt*, yn arwyddo, parhad digyfnewid y cyfammod; ac y byddai i Grist weinyddu ei swyddau, fel offeiriad a brenhin, yn ol y cyfammod, a myned â holl waith iachawdwriaeth, neu adeiladu yr eglwys, ym mlaen yn ol y cyfammod hwnnw. Diammau fod un mwy na Dafydd, sef y Messiah, yr hwn a *wnaed o hâd Dafydd yn ol y cnawd*, yr hwn yr oedd Dafydd mewn amryw bethau yn gysgod o hono, yn cael ei olygu gan y Tad wrth ddywedyd, *Gwnaethum ammod â'm hetholedig, tyngais*

*i'm gwas Dafydd.* *Ps.* 89. 3. Ac y mae yn amlwg, fod golwg ar y cyfammod tragywyddol, yn *Ps.* 40. 6. 7, 8. lle y gosodir Crist allan yn llefaru wrth y Tad, fel y canlyn, *Aberth ac offrwm nid ewyllysiaist, agoraist fy nghlustiau;* hynny yw, darperaist ddynoliaeth i mi, a chymmeraist fi, trwy fy nghydsyniad ewyllysgar, ac ymrwymiad tragywyddol, i fod yn was i ti; i gyflawni dy fwriadau, trwy roddi aberth ac iawn dros bechaduriaid o ddynolryw, fel y gogonedder dy *ras*, ac y boddloner dy gyfiawnder, yn en gwaredigaeth dragywyddol. Am hynny, *Wele, yr ydwyf fi yn dyfod, yn rhol y llyfr yr ysgrifenwyd am danaf; da gennyf wneuthur dy ewyllys, O fy Nuw.* A'r ewyllys hynny oedd, *offrymiad corph Iesu Grist unwaith.* *Heb.* 10. 5—10.

Y mae llawer o eiriau yn yr Ysgrythyrau sanctaidd na ellir deall eu cyssondeb a'u gogoniant, heb olygu cyfammod tragywyddol rhwng y Tad a'r Mab, ynghylch iachawdwriaeth pechaduriaid o ddynolryw.

1. Y mae y Tad yn cael ei alw yn Dduw i'w Fab, *Ps.* 45. 7. a 22. 1. *Ioan* 20. 17. *Eph.* 1. 3.—yn Ben Crist, 1 *Cor.* 11. 3.—yn Farnwr Crist, *Esa.* 50. 8, 9. Dywedir fod y Tad yn anfon y Mab, *Ioan* 3. 16. 1 *Ioan* 4. 9, 10.—yn mynnu ei ddryllio, *Esa.* 53. 10.—heb ei arbed, *Rhuf.* 8. 32.—yn ei gyfiawnhau, *Esa.* 50. 8.—ei adgyfodi, 1 *Petr* 1. 21.—ei dderchafu, *Phil.* 2. 9.—rhannu rhan iddo. *Esa.* 53. 12. Ni buasai yn addas arfer y geiriau a enwyd, oni buasai fod cyfammod tragywyddol. Y mae y Personau tragywyddol yn gyfuwch; ni buasai yn addas galw y Tad yn Dduw, yn Ben, a Barnwr i'r Mab, mwy na galw y Mab yn Dduw, yn Ben, a Barnwr i'r Tad, oni buasai y cyfammod tragywyddol rhyngddynt ynghylch hynny.

2. Mae y Mab yn cael ei alw yn fynych yn *Was* y Tad, *Esa.* 42. 1. a 49. 1,—3.—Cennad y Tad; ie, Cennad y cyfammod, *Mal.* 3. 1. Dywedir am y Tad yn ei anfon, *Ioan*

6. 29. a 10. 38. *Gal.* 4. 4.—ei wneuthur dan y ddeddf—ymddadd yn cymmeryd agwedd gwas, ac yn *ufudd hyd angau; ie, angau y groes.* *Phil.* 2. 8. *Heb.* 5. 8. Ni buasai y Mab yn was i'r Tad, oni buasai fod cyfammod tragywyddol rhyngddynt; oblegid ni ellir dywedyd fod y Mab o naturiaeth, na thrwy orfod yn was i'r Tad; am hynny rhaid mai gwas trwy gyfammod ydyw.

3. Y mae bod Crist wedi ei osod yn y swyddau cyfryngol trwy *lw*, yn profi bod cyfammod tragywyddol. *Ps.* 89. 19, 20, 33, 34, 35, 36. *Ps.* 110. 4. *Heb.* 7. 15,—22. *Offeiriad trwy lw—yn ol nerth bywyd annherfynol.* Bywyd tragywyddol ynddo ei hun, i fod yn Offeiriad yn dragywyddol; ni luddiodd marwolaeth iddo ef barhau—Offeiriad yn gweini ei swydd oedd ef wrth farw—ei aberthu ei hun. Yr oedd nerth annherfynol ynddo i ddyfod trwy ei waith, ac i'w wneuthur i atteb y diben, yn ol y cynghor, y cyfammod, a'r llw.

4. Y mae yr addewidion a wnaeth y Tad i Grist yn profi fod cyfammod rhwng y Personau Dwyfol ynghylch iachawdwriaeth yr eglwys. Addawodd ei gynnorthwyo yn y gwaith, *Esa.* 42. 6.—a derbyn ei waith, *Esa.* 49. 3,—9.—rhoi llwyddiant ar ei waith, *Ps.* 2. 8. *Esa.* 53. 10, 11.—anrhydedd a gogoniant oddiwrth ei waith. *Ps.* 89. 27, 29. a 72. 17. *Phil.* 2. 8, 9.

Felly, yn y cynghor tragywyddol y trefnwyd, ac yn y cyfammod tragywyddol y cyttunwyd am wneuthur cyfiawnder i bechaduriaid o ddynolryw; y rhai yr oedd y Tad yn ei gariad anfeidrol a'i ras wedi bwriadu eu cyfiawnhau. Y mae holl waith iachawdwriaeth yn cael ei ddwyn ym mlaen *yn ol yr arfaeth dragywyddol a wnaeth efe* (sef y Tad) *yng Nghrist.* *Eph.* 3. 11. Etholwyd pechaduriaid i gael eu cyfiawnhau, a'u cadw ynddo ef. *Eph.* 1, 4, 5. *Etholodd ni ynddo ef.* Ethol i iachawdwriaeth. 2 *Thes.* 2. 13. *Appwyntio—i gaffael iachawdwriaeth trwy ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn a*

*fu farw trosom.* 1 Thes. 5. 9, 10. Felly hefyd, trefnwyd Crist i fod yn waredwr iddynt; *er tragywyddoldeb* (ebe Crist) *y'm heneiniwyd, er y dechreuad, cyn bod y ddaear—a'm hyfrydwch oedd gyda meibion dynion.* *Diar.* 8. 23, 31. *Yr oedd ei fynediad allan o'r dechreuad, er dyddiau tragywyddoldeb.* *Mica* 5. 2. *Yr hwn yn wir a rag-ordeiniwyd cyn seiliad y byd.* 1 *Petr* 1. 20. Rhoddwyd gras i ni ynddo cyn dechreu y byd. 2 *Tim.* 1. 9. Addawyd bywyd tragywyddol i'r eglwys ynddo, cyn dechreu y byd. *Tit.* 1. 2. Nid oedd dynion mewn bod i gael yr addewid; ac oni buasai i Fab Duw sefyll dros bechaduriaid o ddynolryw, a'u cynddrychioli yn y cyfammod, ac ymrwymo i roddi iawn drostynt, a gwneuthur cyfiawnder perffaith iddynt, ni buasai modd addaw bywyd tragywyddol iddynt cyn dechreu y byd.

Felly, cyttunwyd ynghylch gwneuthur y cyfiawnder yn y cyfammod tragywyddol, ac yn ol y cyttundeb hwnnw y gwnaed y cyfiawnder yn hollol; ac am hynny y mae yn sicr i fod yn gymmeradwy, ac atteb y diben yn berffaith. Ar y cyfammod yr oedd golwg Crist pan oedd ef yn dywedyd, *Da gennyf wneuthur dy ewyllys, O fy Nuw, a'th gyfraith sydd o fewn fy nghalon.* *Ps.* 40. 7, 8. *Rhoddodd ei hun dros ein pechodau ni—yn ol ewyllys Duw.* *Gal.* 1. 4. Daeth i gyflawni y gyfraith. *Mat.* 5. 17. *Fy mwyd i* (ebe Crist) *yw gwneuthur ewyllys yr hwn a'm hanfonodd, a gorphen ei waith ef.* *Ioan* 4. 34. *Myfi a ddisgynais o'r nef, nid i wneuthur fy ewyllys fy hun, ond ewyllys yr hwn a'm hanfonodd.* *Ioan* 6. 38. Gwneuthur gweithredoedd ei Dad, *Ioan* 10. 37. llefaru y pethau a ddysgodd y Tad, a gwneuthur bob amser y pethau oedd foddlon ganddo ef. *Ioan* 8. 28, 29. a 12. 49. Fel y gorchymynodd y Tad iddo yr oedd ef yn gwneuthur wrth fyned i ddioddef a marw. *Ioan* 14. 31. A dywedodd yn ei weddi ryfedd wrth fyned i'w aberthu ei hun, *Mi a gwblheais y gwaith a roddaist i mi i'w wneuthur.* *Ioan* 17. 4. Ac ar y

groes wrth farw efe a ddywedodd, *Gorphenwyd.* *Ioan* 19. 3. Gorphenodd gyfiawnder perffaith, yn ol y cyfammod; *Dwg gyfiawnder tragywyddol.* Ufudd-dod perffaith i wneuthur llawer yn gyfiawn.

III. *Gwnaeth Crist y cyfiawnder hwn yn y natur a bechodd.* —Yr oedd yn angenrheidiol cael y cyfiawnder i wneuthur pechaduriaid o ddynolryw yn gyfiawn ynddo, wedi ei wneuthur gan, neu yn y natur ddynol. Y natur ddynol y mae y ddeddf foesol yn ei ofyn; y natur ddynol a dorrodd y cyfammod yn Eden, a *aeth yn ol am ogoniant Duw, a than felldith y ddeddf.* Nid yw y ddeddf yn gofyn ond cyfiawnder wedi ei wneuthur gan hon; ac ni dderbyn y ddeddf gyfiawnder arall, dros, neu i fod yn eiddo dynion: felly, ni allasai Mab Duw wneuthur cyfiawnder i ni, heb gymmeryd ein natur ni. Yr oedd yn rhaid i'r un a wnai y cyfiawnder fod dan y ddeddf, a meddu y natur yr oedd y ddeddf yn gofyn ufudd-dod ganddi, a bod yn gymmwys i ddioddef yr hyn oedd y ddeddf yn ei fygwth ar y troseddwyr. I'r diben hynny, cyttunwyd yn y cyfammod tragywyddol i Fab Duw gymmeryd dynoliaeth, i'r Gair tragywyddol gael ei wneuthur yn gnawd. *Ioan* 1. 14. *A phan ddaeth cyflawnder yr amser, Duw a ddanfonodd ei Fab, wedi ei wneuthur o wraig, wedi ei wneuthur dan y ddeddf; fel y prynai y rhai oedd dan y ddeddf.* *Gal.* 4. 4, 5. *Duw a ddanfonodd ei Fab ei hun yng nghyffelybiaeth cnawd pechadurus.* *Rhuf.* 8. 3. *Duw a ymddangosodd yn y cnawd.* 1 *Tim.* 3. 16. *Gan fod y plant yn gyfrannogion o gig a gwaed, yntau hefyd yr un modd a fu gyfrannog o'r un pethau.* *Heb.* 2. 14. Y mae Person Mab Duw wedi ymuno â natur dyn, wedi cymmeryd y natur ddynol i undeb rhyfeddol a thragywyddol â'i berson anfeidrol ei hun. Fel y mae efe yn wir Dduw a gwir ddyn, yn un Person gogoneddus; er hynny, ni chyfnewidiwyd y Person Dwyfol, na'r natur ddynol, trwy yr undeb rhyfeddol hwn; ac ni chymmysgwyd y Duwdod â'r

ddynoliaeth ychwaith, ond y mae y ddwy natur yn meddiannu eu priodoliaethau eu hunain, er eu hundeb ym mherson Crist; nid yw y Duwdod yn ddyn, na'r dyndod yn Dduw, er fod y person yn Dduw-dyn. Nid yw dynoliaeth Crist yn holl-alluog, na holl-bresennol, &c. na Duwdod Crist yn agored i ddioddef na marw. Ond y mae person Crist yn holl-alluog, &c. a dywedir fod Crist wedi marw, Arglwydd y gogoniant wedi cael ei groeshoelio, y gwaed a bwrcasodd yr eglwys, yn briod waed Duw. *Act.* 20. 28. Etto, afresymol a chableddus fyddai dywedyd, fod y Duwdod wedi marw neu waedu. Dynoliaeth Crist yn unig a ddioddefodd, ac a fu farw; ond gan fod Crist yn Berson Dwyfol, wedi cymmeryd y natur ddynol i undeb â'i berson, addas dywedyd, mai priod waed Duw oedd y gwaed a dywalltwyd ar y groes. Dynoliaeth Duw yw y ddynoliaeth, gorph ac enaid; i berson Mab Duw y ffurfiwyd hi; ni bu y ddynoliaeth honno yn bod, ond mewn undeb â pherson y Gair; ffurfiwyd hi, ac unwyd hi âg ef yr un pryd: felly, *corph yr Arglwydd* oedd y corph, enaid yr Arglwydd oedd yr enaid oedd yn drist hyd angau, a phriod waed Duw oedd y gwaed.

Yr oedd undeb y natur ddynol â pherson Mab Duw, yn rhoi mawredd, ardderchawgrwydd, a gwerth anfeidrol yng ngweithredoedd a dioddefiadau natur ddynol Crist. Gwelwn fod y person bendigedig hwn, y Duw-ddyn, yn berffaith gymmwys i wneuthur cyfiawnder tragywyddol i ni. Fel Duw, ni allasai ufuddhau i'r ddeddf, yr oedd uwchlaw iddi; na dioddef ei melldith, gan ei fod yn berffaith ddedwydd, ac anfarwol. Ond gan iddo gymmeryd ein natur, yr oedd ganddo gymmwysder i ufuddhau a dioddef; a chan ei fod yn Dduw, y mae mawredd anfeidrol yn ei ufudd-dod. Trwy Grist cafodd y ddeddf ei chyflawni, a'i mawrhau gan y natur a'i torrodd; a dygwyd cyfiawnder tragywyddol i mewn gan y natur a gollodd bob cyfiawnder, a gorchfygwyd angau yn y natur aeth dan ei draed; ïe, dinystrwyd yr hwn oedd â nerth marwolaeth ganddo,

*Heb.* 2. 14, 15. Gan i Fab Duw gymmeryd y natur ddynol i undeb â'i Berson anfeidrol ei hun, y mae efe yn frawd, a chyfathrachwr i ni. Yr oedd gan gyfathrachwr yn Israel, hawl i brynu ei frawd caeth, a thalu dyled ei frawd tlawd, a rhyddhau ei etifeddiaeth. Gwel *Lef.* 25. 24, 48, 49. *Ruth* 4. 4. Y mae Crist trwy ei gnawdoliaeth wedi dyfod yn gyfathrachwr agos, fel y gallai ein prynu a'n rhyddhau. Gellir dywedyd wrth y credadyn, fel y dywedodd y gwragedd gynt wrth Naomi, *Ruth* 4. 14, 15. *Bendigedig fyddo yr Arglwydd yr hwn ni'th adawodd di heb gyfathrachwr heddyw. Ac efe a fydd i ti yn adferwr einioes.* Pan gymmerodd Crist ein natur ni, aeth dan y ddeddf a dorrasom ni; pan y gwnaethpwyd ef o wraig, gwnaethpwyd ef dan y ddeddf. *Gal.* 4. 4. Ac wedi ei wneuthur dan y ddeddf, ufuddhaodd iddi yn berffaith. Y mae efe yn ddiwedd iddi. *Rhuf.* 10. 4. Attebodd iddi yn eithaf manylrwydd ei gofynion. Cyflawnodd gyfiawnder y ddeddf. *Rhuf.* 8. 4. Ei ufudd-dod ef yw y cyfiawnder; *ufudd-dod un*, a *chyfiawnder un*, yr un peth ydyw. *Rhuf.* 5. 17, 18, 19. Ufuddhaodd Crist i'r ddeddf yn berffaith yn yr hyn oll oedd hi yn ei ofyn i ni. Yr oedd y ddeddf yn gofyn ufudd-dod perffaith gennym fel creaduriaid rhesymol; sef, bod i ni garu Duw â'n holl galon, ei ofni, ei barchu, ei addoli, ac ufuddhau iddo ym mhob peth, bob amser, a charu ein cydgreaduriaid fel ein hunain. Yr oedd y ddeddf, fel yr oedd hi yn sefyll yn y cyfammod yn Eden, yn gofyn i ni, fel troseddwyr a thorwyr cyfammod, ddioddef ei holl felldithion cyfiawn; ie, dioddef y gospedigaeth gyfiawn i ni yn ol haeddiant ein pechodau; *cyflog pechod yw marwolaeth.* Felly, y mae cyfiawnder Crist yn cynnwys ufudd-dod perffaith i'r ddeddf, ym mhob golygiad; *bu yn ufudd hyd angau; ie, angau y groes.* Y mae rhai yn gwahaniaethu rhwng ufudd-dod gweithredol, a dioddefol Crist; ond un cyfiawnder perffaith yw ei holl ufudd-dod ef. Yr oedd dioddefiadau lawer yn ei holl fywyd, ac

ufudd-dod gweithredol yn ei holl ddioddefiadau a'i angau ef; ei roddi ei hun, ei aberthu ei hun, yn ol ewyllys Duw a wnaeth efe.

Ond er mwyn dangos natur cyfiawnder Crist yn eglurach, gellir dangos ei fod yn gynnwysedig yn y tri pheth canlynol: sef,

1. Sancteiddrwydd perffaith ei natur ddynol. Mae y ddeddf yn gofyn sancteiddrwydd perffaith yn y natur ddynol, cyd-ffurfiad llawn â hi yn ei holl ofyniadau. Y mae hyn yn amlwg wrth ystyried ei bod hi yn gofyn y *galon, yr enaid, y meddwl a'r oll* o bob un. Ni ellir caru Duw â'r holl galon, heb i'r natur fod yn berffaith sanctaidd. Yr oedd y ddeddf, fel yr oedd hi yn sefyll yn y cyfammod gweithredoedd, yn gofyn y sancteiddrwydd perffaith hwn, fel ammod bywyd; ac ni all neb gael cyfiawnhad bywyd, heb fod sancteiddrwydd natur yn y cyfiawnder i'w gyfiawnhau.—Y mae natur ddynol Crist yn berffaith sanctaidd: felly y tystiolaethodd yr angel am dano, *Y peth sanctaidd a enir o honot.* *Luc* 1. 35. Er ei wneuthur o wraig, yr oedd ef yn lân; yr oedd yn *sanctaidd, diddrwg, a dihalog.* *Heb.* 7. 26. *Oen difeius a difrycheulyd.* 1 *Petr* 1. 19. Cadwodd ei sancteiddrwydd perffaith yn ddifrycheulyd hyd y diwedd; ni allodd y byd na satan ei halogi. Er ei *demtio ym mhob peth yr un ffunud a ninnau, etto heb bechod.* *Heb.* 4. 15. Nid oedd i dywysog y byd hwn ddim ynddo ef. *Ioan* 14. 30. Ni allasai cyfiawnder pur ewyllysio, na'r gyfraith sanctaidd ofyn natur ddynol berffeithiach.

2. Ufudd-dod perffaith i'r holl ddeddf, yn ei manylrwydd eithaf, ym mhob peth, ym mhob amgylchiad, dros ei holl fywyd. Cadwodd y gorchymynion; arhosodd yn yr holl bethau ysgrifenedig yn llyfr y ddeddf i'w gwneuthur hwynt. *Gal.* 3. 10. Bu yn ufudd hyd angau y groes. *Phil.* 2. 8. Attebodd Crist yn berffaith i bob gorchymyn yn ei ysprydolrwydd a'i ehangrwydd mwyaf. Ufuddhaodd i'r ddeddf, yn ôl fel yr

esponiodd ef hi yn ei bregeth ragorol ar y mynydd. Cyflawnodd bob cyfiawnder; ni adawodd ddim heb wneuthur. Ni allasai y ddeddf sanctaidd ofyn perffeithiach ufudd-dod nag a gafodd hi gan yr ail ddyn.

3. Dioddefiadau ac angau Crist. Ufuddhau yr oedd Crist wrth ddioddef, a marw. Gorchymyn a dderbyniodd gan y Tad i roddi ei einioes i lawr. *Ioan* 10. 18. Ufudd-dod oedd myned i angau y groes. *Phil.* 2. 8. Melldith y ddeddf, fel yr oedd hi yn sefyll yn y cyfammod gweithredoedd a ddioddefodd ef; oblegid yr oedd ei bobl dan hwnnw; a gwnaed ef yn felldith drostynt, i'w llwyr brynu hwy oddiwrth y felldith. *Gal.* 3. 13. Safodd yn ei wyneb yn dywedyd, *gan farw ti a fyddi farw;* a bu farw yn ewyllysgar o dan ei bygythiad a'i melldith gyfiawn. Felly, trwy ei natur sanctaidd, a'i fywyd ufudd pur, a'i ddioddefiadau, a'i angau poenus rhinweddol ar y groes. cafwyd ufudd-dod llawn, a chyfiawnder perffaith, wedi ei wneuthur yn y natur ddynol. Felly, cafwyd yn ein natur y cyfiawnder yr ydym ni yn amddifaid o hono yn ein personau ein hunain; ac i'n bath ni y gwnaed y cyfiawnder hwn, ac y mae modd i bechadur gael hawl ynddo; *y mae i bawb a gredant. Rhuf.* 3. 22.

IV. *Y mae Crist wedi gwneuthur y cyfiawnder hwn, nid yn unig yn ein natur ni, ond hefyd yn ein lle, fel Pen-cynddrychiolwr a Mechnïydd ei Eglwys.*—Mae y gwirionedd hwn yn galw am ein sylw mwyaf manwl a difrifol; y mae yn cynnwys ynddo un o ryfeddodau y drefn anfeidrol ddoeth a gogoneddus sydd gan Dduw i gadw pechaduriaid; sef, bod Crist wedi ufuddhau, dioddef, a marw, nid yn unig yn natur dyn, er mwyn ac er lles pechaduriaid, ond ufuddhaodd a dioddefodd yn lle pechaduriaid o ddynolryw, fel eu pen-cynddrychiolwr a'u mechnïydd yn y cyfammod tragywyddol. Nid ufuddhau er eu mwyn, fel y gallent fod yn gyfiawn; ond ufuddhau yn eu lle, fel y byddent yn gyfiawn, a wnaeth efe. *Fy*

*ngwas cyfiawn a gyfiawnha lawer, trwy ei wybodaeth; canys efe a ddwg eu hanwireddau hwynt.* *Esa.* 53. 11. *Trwy ufudd-dod un y gwneir llawer yn gyfiawn.* *Rhuf.* 5. 19.

Y mae bod Crist wedi ufuddhau a dioddef yn ein *lle*, i'w weled yn amlwg yn y pethau canlynol; sef,

1. Yr oedd Crist yn ufuddhau ac yn dioddef, fel *ail Adda.* Gelwir ef, yr *Adda diweddaf, yr ail ddyn,* 1 *Cor.* 15. 45, 47. Dywedir fod yr Adda cyntaf *yn ffurf yr un oedd ar ddyfod,* sef Crist. *Rhuf.* 5. 14. Yr oedd Adda yn ffurf, neu yn gynllun o Grist. Fel yr oedd Adda yn gynddrychiolwr ei hâd, sef holl ddynolryw, ac yn ben-cyfammodwr yn y cyfammod gweithredoedd; felly, mae Crist yn ben-cynddrychiolwr ei eglwys, ac yn ben-cyfammodwr iddi yn y cyfammod tragywyddol. Yr oedd *y daearol* yn ben *y rhai daearol,* sef Adda yn ben dynolryw; *y mae y nefol* yn ben *y rhai nefol,* sef Crist yn ben-cynddrychiolwr yr eglwys. Gwneir pob un o'i hâd ef yn rhai nefol. 1 *Cor.* 15. 47, 48, 49. Yr oedd yr Adda cyntaf yn cynddrychioli ei holl hâd, sef dynolryw, yn ei ufudd-dod a'i anufudd-dod; felly, trwy ei anufudd-dod *y pechodd pawb, y gwnaethpwyd llawer yn bechaduriaid, y daeth barn ar bob dyn i gondemniad.* *Rhuf.* 5. 12—19. Felly Crist, yr *Adda* diweddaf, pen ei eglwys, a chynddrychiolwr ei hâd, a ufuddhaodd yn eu lle; a thrwy ei ufudd-dod ef y *gwneir llawer yn gyfiawn.*

2. Mechnïydd y cyfammod oedd Crist yn ufuddhau ac yn dioddef. *Heb.* 7. 22. Am hynny, y mae yn amlwg, mai *yn lle* y rhai y mechnïodd ef drostynt yn y cyfammod tragywyddol, yr ufuddhaodd, ac y dioddefodd ef. Ni ellir gwadu nad yw Crist yn fechnïydd; ac er na elwir ef felly ond mewn un man, sef *Heb.* 7. y mae un dystiolaeth ddwyfol mor gadarn a mil. Y mae llawer o eiriau eraill yn y Bibl am Grist a'i waith, yn dangos mai mechnïydd ydyw ef. Mae y gair yn arwyddo, *taro llaw,* neu ymrwymo i atteb dros arall. *Diar.* 6. 1. a

17. 18. Ymrwymo, neu roddi sicrwydd i ûn arall am berson neu beth: megis Juda yn ymrwymo am ddychweliad Benjamin. *Myfi a fechnïaf am dano ef*, *Gen.* 43. 9. a 44. 32, 33. neu ymrwymo i dalu dros un arall, yr hyn sydd gyfiawn i'r gofynwr oddi wrtho; megis Paul yn ymrwymo i dalu i Philemon dros Onesimus. *Philem.* 18. Y mae mechnïydd yn myned i le arall yn wyneb y gyfraith, yn agored i'r gyfraith ymaflyd ynddo, dros neu yn lle arall: ac y mae ei waith ef yn talu, neu yn cyflawni ei ymrwymiad dros yr un, neu y rhai y mechnïodd ef drosto, neu drostynt, yn rhyddhau yr un, neu y rhai hynny. Nid oes anghen dywedyd llawer ar hyn, y mae yr hyn y mae y gair yn ei arwyddo yn ddigon hyspys. Y mae hyn i sylwi arno; sef, mai peth o ddewisiad, ac nid o orfod, yw myned yn fechnïydd.—Ond i sylwi ar fechnïaeth Crist: Gan fod Crist yn fechnïydd y cyfammod, y mae yn rhaid ei fod ef yn fechnïydd dros un o'r pleidiau yn y cyfammod; naill ai dros Dduw i ddynion, neu dros ddynion i Dduw. Nid tros Dduw i ddynion: oblegid lle y maent yn gofyn mechnïydd, y maent yn golygu fod yr un y maent yn ceisio mechnïydd drosto, yn wan, yn dlawd, yn anffyddlon, neu yn agored i'r cyfryw bethau, neu i farwolaeth. Nid oes yr un o'r pethau a enwyd yn Nuw; ac nid oes modd iddynt fod ynddo ef. Pan y mae yn ewyllysio dangos dianwadalwch ei gynghor, a chadernid ei addewidion, y mae yn arfer galw tystion. *Esa.* 43. 10. *Ioan* 18. 37. Ac wedi ymostwng i'w cadarnhau, neu i ddangos eu cadernid trwy lŵ. *Heb.* 6. 18, 19. Ond ni roddodd fechnïydd erioed; a byddai yn ddianrhydedd arno ei hun iddo wneuthur.—Felly, y mae yn eglur, mai mechnïydd dros ddynion i Dduw yw Crist. Yr oedd arnom ni, ym mhob golygiad, eisiau mechnïydd; ac ni allasai un cyfammod rhwng Duw a dynion, fod yn gadarn a safadwy hebddo. Nid oedd mechnïydd yn y cyfammod yn Eden; er fod y dyn yn berffaith, torrodd y cyfammod. Y mae arnom ni eisiau mechnïydd, ac y mae un trosom yn y cyfammod,

*Gosodwyd ein cymmorth ar un cadarn. Ps.* 89. 19. Yr hwn a lwyr roddodd ei galon i nesâu at Dduw trosom. *Jer.* 30. 21.

Ond ymofynwn ym mhellach, pa un ai mechnïydd ydyw drosom ni, y cyflawnem ni ein dyledswyddau, sef, y credem, yr edifarhaem, y dychwelem at Dduw, y gwnaem ni ddefnydd o'r iachawdwriaeth, &c. Nid mechnïydd drosom am hynny yw Crist. Y mae yr holl bethau hynny yn addewidion y cyfammod. Gwel *Ps.* 22. 27—31. a 110. 3. *Mat.* 12. 21. *Gal.* 3. 16. *Ioan* 6. 37. Y mae yr addewidion wedi cael eu gwneuthur i Grist; a gwaith y Tad, yn ol y cyfammod, ydyw cyflawni yr addewidion. Ond mechnïydd drosom, wedi ymrwymo i dalu ein dyled ni ydyw Crist. Sonir am fechnïo am ddyled, a bod y neb a wnelo yn rhwym i'w thalu, *Diar.* 22. 26, 27. Ymrwymodd Crist, yr ail Adda, dros ei hâd, dros y rhai yr oedd efe yn eu cynddrychioli yn y cyfammod; rhai llawn dyled, ac heb ddim i dalu. *Mat.* 6. 12. *Luc* 7. 42. Nid yn unig tlodion ni allant dalu, *Rhuf.* 5. 6. ond hefyd rhai anonest, anffyddlon, ni fynnent dalu. *Rhuf.* 8. 7, 8. Fel creaduriaid, yr oedd dyled arnynt i ufuddhau yn berffaith i Dduw; ac fel rhai o'r teulu oedd yng nghyfammod Eden, nid oedd modd iddynt gael bywyd, derbyniad gyda Duw, na'u cyfiawnhau ger ei fron, heb ufudd-dod perffaith. Fel troseddwyr, a thorwyr cyfammod, yr oedd dyled arnynt i ddioddef y gospedigaeth gyfiawn am eu pechodau; yr oeddynt dan y bygythiad, *gan farw, ti a fyddi farw*, dan felldith y ddeddf; y cyflog cyfiawn iddynt oedd marwolaeth. *Rhuf.* 6. 23. Yr oedd Mab Duw yn rhag-weled yn nhragywyddoldeb, mai felly y byddent; etto, yn ei gariad rhad, a'i anfeidrol ras, ymrwymodd i fod yn fechnïydd drostynt; ymrwymodd drostynt; rhoddodd megis ei law yn llaw ei Dad: rhoddodd y Tad hwynt iddo, i'w cadw i fywyd tragywyddol. *Ioan* 6. 37, 39. a 10. 28, 29. a 17. 6. *Heb.* 2. 13. Ymrwymodd y Mab i roddi iawn drostynt, ac i wneuthur cyfiawnder iddynt: a gellir golygu y Mab yn dywedyd

wrth y Tad, fel Paul wrth Philemon am Onesimus, 'Os gwnaethant, neu os gwnant ddim cam â thi—os ydynt, neu os byddant yn dy ddyled, cyfrif hynny arnaf fi; myfi a'i talaf.' Yn ol yr ymrwymiad hwnnw, *yr Arglwydd a roddodd arno ef ein hanwireddau ni i gyd*, *Esa.* 53. 6.—*y gwnaeth efe ef yn bechod drosom ni*, 2 *Cor.* 5. 21.—*ac y dyg Crist ei hun ein pechodau ni yn ei gorph ar y pren.* 1 *Petr* 2. 24. Fel yr oedd Aaron yn rhoddi ei *ddwylaw ar ben y bwch* gynt, ac *yn cyffesu arno holl anwiredd meibion Israel, a'u holl gamweddau hwynt yn eu holl bechodau*, ac yn eu *rhoddi hwynt ar ben y bwch; Lef.* 16. 21. er nad oedd natur y bwch yn cael ei llygru, etto, yr oedd y bwch yn cael ei gyfrif, ei olygu, neu ei farnu dan holl bechodau meibion Israel. Felly, nid oedd natur Crist yn cael ei halogi, mewn un modd, wrth i'r Tad roddi ein hanwireddau ni arno, a'i wneuthur yn bechod trosom; etto, yr oedd Crist yn cael ei olygu, ei farnu, a'i gyfrif gan y Tad dan holl bechodau y rhai yr oedd efe yn eu cynddrychioli yn y cyfammod, ac yn fechnïydd drostynt. Yr oedd y Tad, fel Barnwr, yn cyfrif pechodau y rhai oedd Crist yn eu cynddrychioli, ar Grist fel eu mechnïydd. Nid cyfrif mai Crist a'u gwnaeth, ond cyfrif, golygu, a barnu eu bod yn eiddo iddo, trwy ei ymrwymiad fel mechnïydd i ddioddef y gospedigaeth gyfiawn am danynt, ac i roddi iawn perffaith drostynt. Am fod yr Arglwydd wedi rhoddi ein pechodau arno ef, ac yntau wedi eu cymmeryd yn ewyllysgar *yn ei gorph ar y pren, efe a archollwyd am ein camweddau ni, efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni, cospedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef.* *Esa.* 53. 5. Am hynny, *Yr Arglwydd a fynnai ei ddryllio ef.* *Adn.* 10. Oblegid y pechodau oedd wedi cael eu rhoddi arno y drylliwyd ef; ac o herwydd hynny, *nid arbedodd* (y Tad) *ei briod Fab. Rhuf.* 8. 32. Gan fod Crist wedi cael ei wneuthur yn bechod drosom, gwnaethpwyd ef yn felldith drosom. *Gal.* 3. 13. Y mae yn beth nodedig i sylwi arno, mai wrth lefaru

am dano yn offeiriad trwy lŵ, y dywedodd yr apostol am dano yn fechnïydd: felly, cyflawni ei fechnïaeth yr oedd efe wrth offeiriadu; ïe, wrth ei aberthu ei hun. Gwel *Heb.* 7. 20—24. *Archoffeiriad ffyddlon mewn pethau yn perthyn i Dduw, i wneuthur cymmod dros bechodau y bobl.* *Heb.* 2. 17. *Wedi ei offrymmu unwaith i ddwyn ymaith bechodau llawer.* *Heb.* 9. 28. Felly, yr oedd efe yn lle llawer, a phechodau llawer arno: ond gan iddo eu dwyn ymaith, trwy roddi iawn drostynt, *ymddengys yr ail waith heb bechod.* Y mae llawer o ymadroddion yn yr Ysgrythyrau sanctaidd yn dangos yn eglur fod Crist wedi ufuddhau, dioddef, a marw yn *lle* ei bobl. *Dioddefodd dros bechodau, y cyfiawn dros* (neu yn lle) *yr anghyfiawn.* 1 *Petr* 3. 18. *Aberthwyd drosom ni.* 1 *Cor.* 5. 7. *Rhoddodd ei einioes yn bridwerth dros lawer.* *Mat.* 20. 28. *Melldith drosom.* *Gal.* 3. 13. Tywalltwyd ei waed ef *dros lawer, er maddeuant pechodau.* *Mat.* 26. 28. Mae y gair a gyfieithir *dros,* yn arwyddo, *yn lle;* y mae yn cael ei gyfieithu *am,* yn *Mat.* 5. 38. llygad *am* lygad, neu *yn lle* llygad; hynny yw, barned y barnwr i'r hwn a dynnodd lygad ei gymmydog, gael colli ei lygad, yn gospedigaeth am hynny. *Carodd Crist yr eglwys, ac a'i rhoddodd ei hun drosti.* *Eph.* 5. 25. *Y bugail da sydd yn rhoddi ei einioes dros y defaid.* *Ioan* 10. 11. Heb i ni olygu fod Crist wedi ufuddhau a dioddef *yn lle* ei bobl, byddai yn anhawdd rhoddi rheswm am gyfiawnder Duw, yn ei waith yn cospi, yn dryllio, yn deffro ei gleddyf, ac yn taro ei Fab, y gwr oedd gyfaill iddo, heb arbed. Byddai yn anhawdd rhoddi cyfrif am ddioddefiadau mawrion, digyffelyb, ac annamgyffredadwy yr Arglwydd Iesu, yn enwedig dioddefiadau ei enaid ef, pan oedd yn gweddïo am i'r cwppan fyned heibio; ïe, trwy lefain cryf a dagrau, mewn ymdrech meddwl, ac yn chwysu dafnau gwaed, a'i enaid yn drist hyd angau! *Mat.* 26. 39. *Heb.* 5. 7. *Luc* 22. 44. Pe na buasai dim ond dioddef angau, ïe, angau gwaedlyd ar y groes, a dirmyg

Iuddewon a Chenhedloedd pan oedd yn dioddef, buasai ein Iesu bendigedig yn ymddwyn islaw llawer o'r merthyron, wrth fyned i'r fath ddychryn, a braw, a chyfyngder, ing, ac ymdrech meddwl wrth wynebu ei angau chwerw; ac efe yn gwybod na bu dim ynddo, ac na wnaethai ddim yn ei holl fywyd ond pethau wrth fodd ei Dad: etto, arswydodd yn wyneb ei gleddyf effro; ocheneidiodd a llefodd dan guddiad ei wyneb! Ond pan ystyriom mai *yn lle* pechaduriaid yr ydoedd, ïe, *yn lle* miloedd aneirif o'r rhai gwaethaf, a bod eu holl bechodau mawrion atgas, a'u holl anwiredd yn eu holl bechodau, wedi cael eu rhoddi arno ef; a bod cyfiawnder dwyfol yn ei olygu ef yn sefyll fel mechnïydd *yn eu lle*, nid rhyfedd fod ei gyfyngderau a'i ddioddefiadau mor anamgyffredadwy; cafodd y gyfraith ef *yn lle* pechaduriaid, a thywalltodd ei melldith arno. Cafodd y Tad ef yn sefyll yn lle pechaduriaid; deffrodd ei gleddyf yn ei erbyn; mynnodd ei ddryllio; nid arbedodd ef; ni chadwodd ei gleddyf nes cael ei foddloni, nes cael iawn. *Efe yw yr iawn.* 1 *Ioan* 2. 2. *Yr hwn a osododd Duw yn iawn. Rhuf.* 3. 25. O'i gariad grasol penarglwyddiaethol y danfonodd Duw ei Fab i fod yn iawn, fel y byddai Duw yn *gyfiawn yn cyfiawnhau;* ac *fel y byddem ni byw trwyddo ef.* 1 *Ioan* 4. 9, 10. *Rhuf.* 3. 26.

Ar ol i'r mechnïydd bendigedig ddioddef nes boddloni y gofynwyr, dywedodd, *Gorphenwyd. Ioan* 19. 30. Dyna y pryd y darfu i'r Messiah *ddibennu camwedd, gwneuthur cymmod dros anwiredd, a dwyn cyfiawnder tragywyddol i mewn. Dan.* 9. 24.

Y mae yn amlwg i bob darllenydd diduedd, oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, fod cyfiawnder i gyfiawnhau pechadur ynddo, wedi cael ei wneuthur gan berson addas, yn ol y cyfammod, yn ein natur, ac yn ein lle. Gallwn ddywedyd yn hyderus bellach, *Trwy ufudd-dod un y gwneir llawer yn gyfiawn. Rhuf.* 5. 19.

Y mae gwrthwynebiad mawr yn y byd i'r gwirionedd am osodiad Crist *yn lle* ei eglwys, ac am ei fod wedi gwneuthur cyfiawnder iddi, yn ei lle, fel ei mechnïydd. Rhai yn gwadu hynny, i gael llwybr i wadu iawn Crist; ac eraill i gael gwadu cyfiawnhad trwy gyfiawnder Crist, a sicrwydd a chaderuid yr iachawdwriaeth. 'Ond ni ellir (ebe un) dorri y gwirionedd hwn o'r Bibl, heb ddryllio llyfr Duw i'w ganlyn, ac anffurfio holl drefn y gwirionedd.' Mae y drefn hon, i gael cyfiawnder i gyfiawnhau pechaduriaid, er gogoniant i holl briodoliaethau Duw, anrhydedd i'w gyfraith, a'r cysur mwyaf i'r pechaduriaid sydd yn eu hadwaen eu hunain.

V. *Y mae ufudd-dod, neu gyfiawnder Crist, fel mechnïydd, wrth fodd y Tad, ac yn gymmeradwy ganddo.*—Oni buasai fod gennym sicrwydd trwy y datguddiad dwyfol, fod ufudd-dod Crist, fel pen yr eglwys a mechnïydd drosti, wrth fodd Duw yn berffaith, ac yn gymmeradwy ganddo, ni buasai gennym sail i ddisgwyl ein cymmeradwyo gyda Duw trwyddo, na bod yn gyfiawn ger bron Duw ynddo. Ni chyll y gyfraith ddim o'i hawl i ofyn cyfiawnder perffaith gan bechadur; ac ni bydd i Dduw, y Barnwr cyfiawn, gyfiawnhau neb heb gael ffordd i fod yn gyfiawn, ac i ddangos ei gyfiawnder wrth gyfiawnhau pechadur. Ond y mae cyfiawnder Crist fel mechnïydd ei bobl, y cyfryw sydd yn atteb yn llawn i ofynion manylaf y gyfraith, a chyfiawnder dwyfol; ac y mae y Tad wedi dwyn tystiolaeth o'i foddlonrwydd iddo, lawer gwaith a llawer modd. Dywedodd am y mechnïydd, yn yr olwg ar ei waith cyn iddo ei wneuthur, *Fy etholedig, i'r hwn y mae fy enaid yn foddlawn. Esa.* 42. 1. Tystiodd am dano ddwy waith yn ei fywyd, trwy lef o'r nef, *Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd. Mat.* 3. 17. a 17. 5. Trwy hynny, *derbyniodd gan Dduw Dad barch a gogoniant.* 2 *Petr* 1. 17. Gwneuthur ewyllys y Tad oedd ei hyfrydwch mwyaf. Yr oedd, bob amser, yn gwneuthur yr hyn oedd foddlawn ganddo ef. Yr oedd ei

ddioddefiadau a'i farwolaeth ef, wrth fodd y Tad: *Carodd ninnau, ac a'i rhoddodd ei hun drosom, yn offrwm ac yn aberth i Dduw, o arogl peraidd.* *Eph.* 5. 2. Mae y gair *arogl peraidd* yn arwydd cymmeradwyaeth, fel *arogl esmwyth*, neu arogl gorphwysdra. *Gen.* 8. 21. Aberth yn llonyddu llid, y cleddyf yn gorphwys ar ol ei daro. Cymmerwyd *ef o garchar ac o farn.* *Esa.* 53. 8. Rhyddhawyd ef o garchar angau; yr oedd hynny yn brawf bod ei waith a'i ddioddefiadau wrth fodd y Tad; bod ei waith wedi ei orphen yn ol yr ymrwymiad; a'r ddyled wedi cael ei thalu, yn ol y gofyniadau. *Yr hwn a gyfododd Duw, gan ryddhau gofidiau angau; canys nid oedd bosibl ei attal ef ganddo.* *Act.* 2. 24. Neu, wedi rhyddhau gofidiau angau o'r blaen ar y groes, gan foddloni yn berffaith i'w ddioddefiadau, heb weled eisiau taro, na chospi yn ychwaneg, efe a ddangosodd ei lawn foddlonrwydd fore y trydydd dydd, trwy anfon ei angel i agoryd drws carchar y bedd. Nid oedd bossibl ei attal ef o'r carchar, yn ol cyfiawnder, ac yntau wedi talu yr holl ddyled yn lle ei bobl, a gwneuthur cyfiawnder iddynt. *Yr hwn a draddodwyd dros ein pechodau ni, ac a gyfodwyd i'n cyfiawnhau ni.* *Rhuf.* 4. 25. *Cyfiawnhawyd ef yn yr Yspryd;* 1 *Tim.* 3. 16. hynny yw, yn ei adgyfodiad, lle yr oedd yr Yspryd Glân yn cydweithredu. *Rhuf.* 1. 4. Rhyddhawyd ef yn gyhoeddus, fel Pen yr eglwys, ac fel mechnïydd, wedi llwyr dalu, a llawn foddloni cyfiawnder dwyfol, a gwneuthur cyfiawnder perffaith i'w eglwys, *gemwaith aur* yn wisg iddi. Yr oedd y Tad wedi cael y fath foddlonrwydd i'w gyfiawnder yn angau Crist, fel y gosodir allan, yn gweithredu yn neillduol fel Duw yr heddwch, wrth gyfodi Iesu Grist oddiwrth y meirw. *A Duw yr heddwch, yr hwn a ddyg drachefn oddiwrth y meirw ein Harglwydd Iesu, Bugail mawr y defaid, trwy waed y cyfammod tragywyddol.* *Heb.* 13. 20. Dygwyd Crist i angau, gan gyfiawnder a'r gyfraith, yn achos y defaid; ond pan gyflawnwyd y gyfraith, ac

y boddlonwyd cyfiawnder, trwy farwolaeth y Bugail, Duw yr heddwch, i amlygu fod heddwch wedi ei wneuthur, a'i dyg ef drachefn oddiwrth y meirw. 'O, olwg hyfryd, (ebe un) Iachawdwr yn cyfodi, a Duw yn gymmodol!' Yr oedd ei esgyniad i'r nef, yn brawf fod y cyfiawnder a wnaeth wrth fodd y Tad. Argyhoeddi *o gyfiawnder, am fy mod yn myned at fy Nhad,* (ebe Crist) *ac ni'm gwelwch i mwyach.* *Ioan* 16. 10. Oni buasai fod ufudd-dod Crist yn gyfiawnder perffaith, ni chawsai Crist dderbyniad at y Tad, nac aros gêr ei fron; buasai yn rhaid iddo ddyfod allan o'r sancteiddiolaf, fel yr archoffeiriaid Iuddewig. Ond yr *Archoffeiriad mawr ar dŷ Dduw,* a aberthodd y fath aberth, fel yr *aeth unwaith i mewn i'r cyssegr, trwy ei waed ei hun, gan gael i ni dragywyddol ryddhad.* *Heb.* 9. 12. *Wedi offrymmu un aberth, yn dragywyddol a eisteddodd ar ddeheulaw Duw.* *Heb.* 10. 12. Nid oes eisiau aberth dros dŷ Dduw mwyach, oblegid *âg un aberth y perffeithiodd efe yn dragywyddol y rhai oedd wedi eu sancteiddio,* neu eu neillduo. *Heb.* 10. 14. Y mae yr hyn a wnaeth ac a ddioddefodd yn gymmeradwy: y mae yn y sancteiddiolaf, yn eistedd i eiriol ar ddeheulaw y Tad, a derbyniad i bechaduriaid trwyddo. *Efe a ddichon hefyd yn gwbl iachâu y rhai sydd yn dyfod trwyddo ef at Dduw, gan ei fod yn byw bob amser i eiriol.* *Heb.* 7. 25. Gan fod yr hyn a wnaeth ac a ddioddefodd Crist wrth fodd y Tad—cymmod llawn, cyfiawnder perffaith, rhoddi iawn yn y byd, eiriol ar sail yr iawn yn y nef, 1 *Ioan* 2. 1, 2. oni ddylai y cyfiawnder fod wrth ein bodd ninnau? oni ellir gofyn bellach, yng ngeiriau yr apostol, *Pwy a rydd ddim yn erbyn etholedigion Duw? Duw yw yr hwn sydd yn cyfiawnhau. Pwy yw yr hwn sydd yn damnio? Crist yw yr hwn a fu farw; ie, yn hytrach yr hwn a gyfodwyd hefyd; yr hwn hefyd sydd ar ddeheulaw Duw, yr hwn hefyd sydd yn erfyn trosom ni.* *Rhuf.* 8. 33, 34.——Sylwn ychydig,

VI. *Am ardderchawgrwydd a gogoniant cyfiawnder Crist.* —Mae y fath ardderchawgrwydd digyffelyb yng nghyfiawnder Crist, na all angel na dyn ei amgyffred yn llawn byth. Pan welo pechadur ryw raddau o'i ogoniant annhraethol, efe a waedda allan, fel yr apostol, ei fod yn cyfrif pob peth yn dôm, mewn cymhariaeth iddo. Gallwn weled peth o'i ragoriaethau wrth sylwi ar y pethau a ddywedir am dano yn yr Ysgrythyrau sanctaidd, a'r enwau a roddir arno. Y mae yn cael ei alw, *Cyfiawnder Duw—cyfiawnder un—cyfiawnder y ddeddf—cyfiawnder sydd yn ddawn—cyfiawnder tragywyddol—cyfiawnder perffaith—cyfiawnder ffydd.*

1. Mae y cyfiawnder yn yr hwn y gwneir llawer yn gyfiawn, yn cael ei alw, *Cyfiawnder Duw*, *Rhuf.* 1. 17. 2 *Cor*. 5. 21. mewn cyferbyniad i bob math o gyfiawnder sydd gan ddyn, neu a ddychymmygo dyn fod ganddo; ond yn bennaf am mai cyfiawnder o drefniad Duw ydyw, wedi cael ei wneuthur gan berson sydd yn Dduw dyn; cyfiawnder y mae Duw yn ei arddel a'i gymmeradwyo. Gan mai cyfiawnder Duw ydyw, y mae mawredd ac ardderchawgrwydd anfeidrol ynddo. Y mae yn addas a digonol i wneuthur llawer yn gyfiawn. Er mai y natur ddynol oedd yn ufuddhau ac yn dioddef, etto, yr oedd hi, wrth ufuddhau a dioddef, mewn undeb â'r Person Dwyfol; am hynny, priodolir yr ufudd-dod i berson anfeidrol y Duw ddyn. Y mae cyfiawnder Duw, a'i gyfraith sanctaidd, yn cael mwy o anrhydedd yn ufudd-dod perffaith Crist, nag a fuasai yn bossibl iddynt gael yn ufudd-dod pob creadur rhesymmol, nac yn nioddefiadau yr holl droseddwyr i dragywyddoldeb.

2. Mae y cyfiawnder hwn yn cael ei alw, *ufudd-dod un*, *Rhuf*. 5. 18, 19. *Un* Person yn y Duwdod wedi cymmeryd natur dyn i undeb âg ef ei hun—*un* Pen-cyfammodwr dros ei holl hâd—*un* Pen i aelodau lawer, corph mawr ei eglwys—*un* Cyntaf-anedig ym mhlith brodyr lawer—*un* Bugail miloedd o braidd—*un* Mechnïydd myrddiynau o ddyledwyr. Yr *un*

anfeidrol rhyfeddol hwn, a wnaeth gyfiawnder perffaith i lawer-oedd; a thrwy ei ufudd-dod ef *y gwneir llawer yn gyfiawn.* Yr un cyfiawnder sydd i'r holl eglwys; bydd yr holl waredig-ion, o bob llwyth ac iaith, o bob gradd ac oed, yn gyfiawn ger bron Duw yn yr un cyfiawnder. Er eu bod yn wahanol yn eu doniau, eu swyddau, a graddau eu sancteiddrwydd yn y byd hwn; etto, yn yr un cyfiawnder y maent hwy oll yn gyfiawn. Yr un fantell ogoneddus o gyfiawnder perffaith sydd yn cuddio pob aelod i ddyweddi Crist. Yr un wisg ddiwnïad sydd am ei holl gorph.

3. Mae y cyfiawnder y cyfiawnheir pechadur trwyddo, yn cael ei alw, *cyfiawnder y ddeddf. Rhuf.* 8. 4. Er y dy-wedir, nad y *cyfiawnder sydd o'r gyfraith* ydyw, *Phil.* 3. 9. ac, na *chyfiawnheir neb trwy weithredoedd y ddeddf*, etto, y cyfiawnder y mae y ddeddf yn ei gofyn a raid gael i wneuthur pechadur yn gyfiawn. Ni farna Duw neb yn gyfiawn heb gyf-iawnder perffaith iddo; ond nid trwy y cyfiawnder y mae dyn yn geisio osod yn wyneb gofynion y gyfraith, na thrwy unrhyw weithredoedd o eiddo y dyn y cyfiawnheir ef; oblegid y mae gweithredoedd goreu, y dyn goreu, ar y goreu, yn ammher-ffaith: ond y mae cyfiawnder Crist, y mechnïydd, yn deilwng o'i alw, cyfiawnder y ddeddf; oblegid y mae yn atteb yn ber-ffaith i ofynion manylaf y gyfraith, yn eu ehangrwydd a'u hysprydolrwydd eithaf. *Crist yw diwedd y ddeddf, er cyf-iawnder.* Y mae ei ufudd-dod perffaith ef yn lloned ei gofynion oll.

4. Cyfiawnder sydd yn *ddawn* ydyw. *Dawn cyfiawnder —dawn i gyfiawnhad. Rhuf.* 5. 16, 17. Nid eiddo y dyn, na'i waith ydyw; ond dawn neu rodd rad Duw. Ni all y dyn ychwaith ei haeddu, na'i bwrcasu; ond rhodd rad i'r annheil-wng ydyw. Trefnwyd y cyfiawnder hwn, gan y Tad, o ras yn unig; gweithiwyd efe gan y Mab yn ei ras, i eraill; ïe, i'r euog annheilwng y gwnaeth ef y cyfiawnder hwn. Yn rhad y mae

y Tad yn ei gyfrif i bechadur, heb ddim teilyngdod yn y dyn; a *rhodd Duw* yw y ffydd sydd yn gweled ei ogoniant, ac yn ei dderbyn. O, mor werthfawr y newydd i bechadur euog tlawd, fod cyfiawnder un arall i'w gael yn rhad, i'w wneuthur yn gyfiawn ger bron Duw! Nid yw yn rhyfedd fod pob pechadur sydd yn ei adwaen ei hun, yn gwaeddi o'i galon, *Ac y'm cair i ynddo ef!*

5. *Cyfiawnder tragywyddol* ydyw. *Dan.* 9. 24. Trefnwyd y cyfiawnder hwn er tragywyddoldeb. Ordeiniwyd Crist i'w wneuthur, yn wir, cyn sylfaenu y byd. 1 *Petr* 1. 19, 20. Yr oedd y person a'i gwnaeth yn dragywyddol; y mae y cyfiawnder yn ddigyfnewid a diddiwedd; *cyfiawnder ni dderfydd, Esa.* 51. 6. ni heneiddia, ni lychwina, ond bydd fel ei awdwr, yr un yn dragywydd. Y mae y cyfiawnder mewn llaw gadarn, wedi ei orphen gan berson gogoneddus. Ni bydd byth balldod na diffyg yn y cyfiawnder i gyfiawnhau pechadur, beth bynnag a gyfnewidio, bydd hwn yr un. Y rhai a gyfiawnheir trwy y cyfiawnder hwn, byddant yn gyfiawn byth; *Duw sydd yn cyfiawnhau.* Pwy a all goll-farnu y rhai a gyfiawnhao efe? *Rhuf.* 8. 33, 34. Y mae y dawn yma yn ddiedifarus; y mae yr hwn sydd yn cyfiawnhau, yn anghyfnewidiol; ni eilw ei farn yn ol wedi cyfiawnhau unwaith. Er fod profiadau, teimladau, ac amgylchiadau y credadyn yn newid, y mae ei gyfiawnder ger bron Duw yn wastad yr un.

6. Y mae cyfiawnder Crist yn gyfiawnder perffaith. Nid yw y gyfraith sanctaidd na chyfiawnder dwyfol yn gweled un bai na diffyg ynddo—y mae yn ddifrycheulyd—ni raid lleihau manylrwydd na llymder y gyfraith, ac ni raid i gyfiawnder dwyfol esmwythâu ei ofynion; ac ni raid rhoddi gorchudd ar burdeb yr orsedd wrth gymmeradwyo pechadur gyda Duw yn y cyfiawnder hwn. Disgleiria pechaduriaid fel yr haul yn y cyfiawnder hwn byth; ïe, byddant megis wedi eu gwisgo â'r haul; bydd eu holl waeledd a'u gwarth wedi ei guddio byth;

bydd y saint mewn ardderchoccach gwisg yn y cyfiawnder hwn, na'r angelion sanctaidd. *Dad.* 19. 8. Un o ryfeddodau y nef i dragywyddoldeb, fydd gweled dyn, dyn gwael, dyn cwympedig, dyn a bechodd filoedd aneirif o bechodau dirfawr ac atgas, yn y cyfiawnder perffaith hwn yn ddifrycheulyd, yn disgleirio mewn gogoniant annrhaethadwy o flaen gorseddfaingc Duw!

7. Y mae y cyfiawnder hwn yn cael ei alw *cyfiawnder ffydd.* *Rhuf.* 4. 13. Nid ffydd yw y cyfiawnder, fel y profwyd o'r blaen; ond trwy ffydd y mae y pechadur yn dyfod i weled angen y cyfiawnder hwn, ac i weled ei werth a'i ogoniant; i ffydd y mae yn cael ei ddatguddio yn yr Efengyl. *Rhuf.* 1. 17. Trwy ffydd y mae y pechadur yn ei gymmeradwyo, yn ei dderbyn, ac yn ymorphwys arno, a llawenychu ynddo: o ffydd y mae cyfiawnhad, fel y byddai yn ol gras. Ond cawn sylwi yn helaethach ar hyn, wrth ymdrin â gwaith, lle, a defnyddioldeb ffydd yn y cyfiawnhad.

Bellach, ar ol dangos fod Duw, yn ei anfeidrol gariad, a'i ras, a'i ddoethineb, wedi trefnu ffordd i gael cyfiawnder i gyfiawnhau pechadur trwyddo; a bod Crist, *yr Arglwydd ein cyfiawnder,* wedi gorphen cyfiawnder perffaith yn ol y drefn ddoeth dragywyddol honno, ni a ymofynwn, Pa fodd y mae Duw yn cyfiawnhau pechadurlaid trwy y cyfiawnder hwn? oblegid nid trefnu y cyfiawnder, na gwneuthur y cyfiawnder, yw cyfiawnhau; ond gwneuthur pechaduriaid yn gyfiawn trwyddo. Gan mai trwy gyfiawnder un arall, sef Crist, y mae pechaduriaid yn cael eu gwneuthur yn gyfiawn, nid oes ond un o ddwy ffordd y gellir meddwl am wneuthur hynny; sef, naill ai trwy *gyfrannu* y cyfiawnder, neu trwy ei *gyfrif.* Byddai sôn am gyfiawnhau pechadur trwy gyfrannu cyfiawnder Crist iddo, yn anysgrythyrol, ac yn afresymol. Mae y pechadur sydd yn cael ei gyfiawnhau, yn cael ei wneuthur yn gyfrannog o'r *duwiol anian,* ac yn derbyn o gyflawnder Crist, *a gras am ras;* ond nid ei gyfiawnhau, ond

ei sancteiddio y mae efe yn gael trwy hynny. Nid yw y dyn yn berffaith yn wyneb cyfraith Duw trwy ddim sydd ynddo trwy gyfrannogiad, ond rhaid i'r hyn a'i gwnelo yn gyfiawn fod yn berffaith. Heblaw hynny, byddai sôn am gyfrannu cyfiawnder Crist i'r pechadur, yn ynfydrwydd; oblegid dangoswyd, mai yr un peth yw cyfiawnder Crist, a'i ufudd-dod hyd angau; ïe, angau y groes. Nis gellir cyfrannu ei ufudd-dod ef i neb; y mae effeithiau a ffrwyth yr ufudd-dod hwn yn cael eu cyfrannu er sancteiddiad a chysur y saint: ond nid yr effeithiau, ond yr ufudd-dod ei hun yw y cyfiawnder i wneuthur pechadur yn gyfiawn. Ac nid yw y gair *cyfiawnhau*, fel y dangoswyd yn y dechreu, yn cael ei arfer am gyfnewidiad anian yn y dyn; felly, y mae yn rhaid mai trwy *gyfrif* cyfiawnder Crist i bechaduriaid y mae Duw yn eu cyfiawnhau. Cawn ymdrechu i geisio dangos a phrofi,

VII. *Mai trwy gyfrif ufudd-dod neu gyfiawnder Crist i bechadur y mae Duw yn ei gyfiawnhau, neu yn ei wneuthur yn gyfiawn.*

Nid oes un gangen o athrawiaeth yr Efengyl yn cael ei chasâu a'i gwrthwynebu yn fwy gan ddynion anianol, na'r gangen hon am gyfrifiad o gyfiawnder Crist i bechadur, er ei gyfiawnhad ger bron Duw. Bu yn faen tramgwydd i filoedd, ac y mae miloedd yn tramgwyddo wrthi yn ein dyddiau ninnau; ond y maent yn tramgwyddo wrthi ac yn ei chasâu yn ddiachos; oblegid nid oes un gangen o athrawiaeth gras, yn fwy er gogoniant i holl briodoliaethau Duw, ac er cysur i bechadur fyddo yn gweled ei golledigaeth ynddo ei hunan, na'r gangen hon. Y mae dynion yn tramgwyddo wrth y gwirionedd hwn, am ffordd Duw yn cyfiawnhau pechaduriaid trwy gyfrif cyfiawnder Crist iddynt: oblegid eu hanwybodaeth am Dduw, a threfn yr iachawdwriaeth, y maent, *heb wybod cyfiawnder*

*Duw, yn ceisio gosod eu cyfiawnder eu hunain.* *Rhuf.* 10. 3. *Dyn anianol nid yw yn derbyn y pethau sydd o Yspryd Duw: ac nis gall eu gwybod, oblegid yn ysprydol y bernir hwynt.* 1 *Cor.* 2. 14. Felly, am fod trefn Duw yn cyfiawnhau pechadur, uwchlaw rheswm cnawdol dyn anianol, y mae yn well ganddo feio ar drefn Duw, a thramgwyddo wrthi, na syrthio arno ei hun, a chyfaddef ei anwybodaeth; ie, gwell ganddo geisio dychymmygu rhyw ffordd ei hunan, mwy unol â *syniad y cnawd, sydd yn elyniaeth yn erbyn Duw.* Achos arall fod dynion yn casâu y gwirionedd yma, ydyw, eu hegwyddor, a'u balchder; am eu bod yn ceisio cael eu cyfiawnhau trwy weithredoedd y ddeddf, y maent yn tramgwyddo wrth y maen tramgwydd. *Rhuf.* 9. 32. Hefyd, y mae dyn balch am gael ei gyfiawnhau ryw ffordd fyddo yn tueddu tu ag at iddo ef ei hun gael rhyw ogoniant: ond y mae ymffrost yn cael ei gau allan oddiwrth ddyn, yn y ffordd a drefnodd Duw i gyfiawnhau pechadur. *Rhuf.* 3. 27. 1 *Cor.* 1. 29. Am hynny, y mae dyn yn casâu y drefn. Gan fod dyn yn elyn i Dduw, pa ryfedd ei fod yn erbyn y drefn sydd yn fwyaf er gogoniant Duw? Ond y mae yn amlwg, nad oes un ffordd i gyfiawnhau dyn ger bron Duw, ond trwy gyfrif cyfiawnder Crist iddo. Y mae y pethau a ddywedwyd eisoes yn dangos hyn yn eglur, fel nad oes angenrheidrwydd dywedyd llawer yn bresennol i brofi hynny. Gan mai gweithred farnol o eiddo Duw yw cyfiawnhau; a chan fod Duw yn farnwr cyfiawn; a chan mai y ddeddf foesol yw y rheol cyfiawnder â roddodd efe i'r dyn, a bod honno yn berffaith ac anghyfnewidiol; a chan fod dyn yn droseddwr o honi, yn euog yn ei hwyneb, a than ei melldith, nid oes modd cyfiawnhau dyn trwy un math o gyfiawnder o'r eiddo ef ei hun; nid oes ganddo yr un: am hynny, os cyfiawnheir dyn, y mae yn rhaid ei gyfiawnhau trwy gyfiawnder rhyw un arall. Nid oes cyfiawnder perffaith yng ngwyneb y gyfraith, ond cyfiawnder Crist; gan hynny, nid oes modd cyfiawnhau dyn gyda Duw,

ond trwy hwnnw. Wrth i Dduw gyfiawnhau pechadur, y mae yn rhaid gwneuthur hynny, naill ai trwy *gyfrannu* y cyfiawnder, neu trwy ei *gyfrif*. Sôn am ei *gyfrannu* fyddai yn ynfyd ac afresymol, ie, ni byddai modd gwneuthur hynny yn ol natur pethau. Am hynny, y mae yn rhaid mai trwy gyfrif cyfiawnder Crist i'r pechadur a gredo ynddo ef, y mae Duw yn ei gyfiawnhau ef.

Bellach, ceisiwn sylwi ar y cyfrifiad; oblegid y mae yn beth o bwys mawr i ni wybod yn gywir am dano, a chael iawn olygiad arno. Er fod Crist wedi gorphen cyfiawnder perffaith, y mae myrddiynau yn aros yn anghyfiawn; o herwydd nid *gwneuthur* y cyfiawnder, ond ei *gyfrif* yw cyfiawnhau. Er mwyn egluro y gwirionedd pwysfawr hwn, sylwn,

I. *Ar ystyr y gair cyfrif yn yr Ysgrythyrau, a natur y cyfrifiad sydd dan ein sylw.*

II. *Am sylfaen y cyfrifiad hwn.*

III. *Am y peth a gyfrifir.*

IV. *Am y canlyniad o'r cyfrifiad hwn.*

V. *Am y gwrthddadleuon yn erbyn y cyfrifiad.*

I. *Am ystyr y gair cyfrif yn yr Ysgrythyrau, a natur y cyfrifiad sydd dan ein sylw.*—Mae y gair cyfrif yn cael ei arfer yn fynych yn yr Ysgrythyr. Y mae gair Hebraeg yn cael ei arfer yn yr Hen Destament sydd yn arwyddo hynny: mae y cyfieithwyr Cymreig wedi ei gyfieithu yn *Lef.* 17. 4. *bwrw yn erbyn;* 2 *Sam.* 19. 19. *dannod;* 1 *Sam.* 22. 15, *gosod yn erbyn;* ond yn *Gen.* 15. 6. a *Lef.* 7. 18. a *Ps.* 32. 2. a 106. 31. y mae yr un gair wedi cael ei gyfieithu *cyfrif.* Y mae gair Groeg yn cael ei arfer yn y Testament Newydd sydd yn cael ei gyfieithu *cyfrif*, yn *Rhuf.* 4. 3, 4, 5, 6, 8, 11, 22, 24. a 5. 13. 2 *Cor.* 5. 19. *Gal.* 3. 6. *Iago* 2. 23. Mae y gair yn arwyddo, meddwl, golygu, penderfynu, barnu, rhoi yn erbyn, cyfrif. 2 *Cor.* 11. 5. *Yr ydwyf yn meddwl*, neu yn cyfrif (Groeg). 1 *Cor.* 4. 1. *Cyfrifed dyn*

*ni*, neu golyged ni, neu edryched arnom felly. *Rhuf.* 3. 28. *Yr ydym ni yn cyfrif. Rhuf.* 8. 18. *Yr ydwyf yn cyfrif*; hynny ydyw, yn penderfynu, ar ol pwyso y pethau a'u hystyried. *Heb.* 11. 19. *Cyfrif bod Duw yn abl i'w gyfodi ef o feirw*; neu farnu ei fod ef yn abl. 2 *Tim.* 4. 17. *Mi a archaf ar Dduw, nas cyfrifer iddynt*; neu na rodder yn eu herbyn: yr un ystyr a geiriau Stephan, *Act.* 7. 60. *Na ddod y pechod hwn yn eu herbyn.*—Mae y golygiadau hyn ar y dull yr arferir y gair *cyfrif*, yn yr Ysgrythyrau, yn agoryd y ffordd i ni weled, beth a feddylir pan arferir y gair mewn perthynas i gyfiawnhad pechadur. Mae y gair yn cael ei arfer yn yr Hen Destament a'r Newydd, wrth sôn am gyfiawnhau. Yn *Gen.* 15. 6. lle y mae y sôn cyntaf am gyfiawnhau, dan ei enw, arferir y gair *cyfrif*. Ond y mae yn angenrheidiol sylwi, fod dau fath o gyfrif yn bod; sef,

1. Cyfrif i ddynion yr hyn oedd yn eiddo iddynt o'r blaen; rhoi gweithredoedd cyfiawn neu anghyfiawn o'u heiddo yn eu cyfrif, yn eu herbyn, neu o'u tu; a'u cyfrif yn gyfiawn neu yn anghyfiawn, yn ol natur y gweithredoedd hynny, ac ymddwyn attynt yn ol hynny. Yn yr ystyr hyn, *cyfiawnder y cyfiawn fydd arno ef, a drygioni y drygionus fydd arno yntau. Ezec.* 18. 20. Cyfrif drwg i'r drygionus, ac ymddwyn atto yn ol ei ddrwg; hynny oedd Simei yn ei ofni, pan y syrthiodd o flaen Dafydd, ac y dywedodd, *Na ddannoded fy arglwydd i mi anwiredd*; neu, *na chyfrifed*, 2 *Sam.* 19. 19. a dyna oedd golygiad Paul, pan y dywedodd, *Mi a archaf ar Dduw, nas cyfrifer iddynt*: Cyfrif gweithredoedd da i'r rhai a'u gwnaeth, ac ymddwyn attynt yn ol hynny; yn yr ystyr hynny y cyfrifwyd gwaith Phinees yn lladd y godinebwyr hynny, yn gyfiawnder iddo. *Ps.* 106. 31. Cyfrif ei weithred yn dda ac uniawn, ac ymddwyn atto yn ol hynny, ei wobrwyo ef. Gweithred o farn a chyfiawnder yw y cyfrif hwn; barnu y gweithredoedd y

peth oeddynt, ac ymddwyn attynt yn gyfattebol i hynny. Nid gweithred o ras yw y cyfrif hwn.

2. Cyfrif i ddynion yr hyn nad oedd yn eiddo iddynt; rhoddi y peth nad oeddynt yn ei feddiannu, nac yn ei haeddu, a'i gyfrif yn eiddo iddynt, eu golygu a'u barnu yn ol hynny, ac ymddwyn attynt yn ol hynny. Trwy y fath yma o gyfrifiad y mae pechadur yn cael ei gyfiawnhau ger bron Duw; y mae hyn yn cael ei ddangos yn eglur yn y gair. Trwy gyfrifiad y cyfiawnhawyd Abraham, tad y ffyddloniaid. *Gen.* 15. 6. *Rhuf.* 4. 3. A thrwy gyfrifiad y cyfiawnheir ei holl blant, sef, pawb a gredant. *Rhuf.* 4. 11, 24. Trwy gyfrif cyfiawnder i rai y mae Duw yn eu cyfiawnhau. *Rhuf.* 4. 6. *Y mae Dafydd yn datgan dedwyddwch y dyn y mae Duw yn cyfrif cyfiawnder heb weithredoedd.* Nid oes gan y dyn gyfiawnder ei hun—*nid oes neb cyfiawn ar y ddaear—bratiau budron yw ein holl gyfiawnderau ni. Esa.* 64. 6. Felly, os cyfrifir cyfiawnder i ni, y mae yn rhaid mai cyfiawnder un arall a gyfrifir, ni feddwn ni yr un. Nid oes cyfiawnder a dâl i'w gyfrif i ni, ond cyfiawnder Crist; *ufudd-dod* yr *un* mawr bendigedig hwn *a wna lawer yn gyfiawn. Rhuf.* 5. 19. *Trwy weithredoedd y ddeddf ni chyfiawnheir un cnawd yn ei olwg ef—i'r hwn nid yw yn gweithio* y mae Duw yn cyfrif cyfiawnder *—cyfrif cyfiawnder heb weithredoedd—cyfiawnhau yr annuwiol, Rhuf.* 4. 5.—*cyfiawnhau yn rhad. Rhuf.* 3. 34. Y mae Duw wrth gyfiawnhau pechaduriaid, yn peidio cyfrif pechod, yr hyn oedd ganddynt; ac yn cyfrif cyfiawnder iddynt, yr hyn nid oedd ganddynt. *Ps.* 32. 2. *Rhuf.* 4. 6, 7. Nid yw Duw yn cyfrif rhai yn gyfiawn, heb gyfiawnder perffaith iddynt: *y mae barn Duw yn ol gwirionedd.* Nid yw Duw yn barnu ychwaith iddynt hwy wneuthur y cyfiawnder y mae efe yn eu cyfiawnhau hwy ynddo. Ond dyma yw y cyfrifiad sydd yn achub bywyd y pechadur euog; gwaith Duw yn ei ras

anfeidrol yn rhoddi cyfiawnder Crist i'r pechadur tlawd ar ddarfod am dano; a'i olygu, ei farnu, a'i gyfrif yn eiddo iddo, a chyfrif y pechadur sydd yn ei dderbyn trwy ffydd, yn gyfiawn ynddo o flaen ei orsedd bur. Y mae yn maddeu ei holl bechodau, yn cymmeradwyo ei berson, ac yn rhoddi hawl i fywyd tragywyddol iddo yr un pryd. Y mae Duw yn ei roddi, a nerthu y pechadur i'w dderbyn, yn ei gyfrif i'r pechadur, a'i nerthu yntau i gredu yr un amser, a'r cwbl o ras anfeidrol! Os gwaeddodd y prophwyd allan mewn syndod, *Pa Dduw fel tydi yn maddeu!* oni ddylem ninnau waeddi allan, Pa Dduw fel tydi yn cyfiawnhau yr annuwiol!—Y mae mwy na maddeu mewn cyfiawnhau. Y mae brenhinoedd y ddaear yn maddeu yn fynych, heb gyfiawnhau; ond nid yw ein Duw ni byth yn maddeu heb gyfiawnhau. Y mae peidio cyfrif pechod, a chyfrif cyfiawnder yn canlyn eu gilydd yn wastad. Ond ni a sylwn, yn nesaf,

II. *Beth yw sylfaen y cyfrifiad hwn?* neu, pa addasrwydd, pa uniawnder sydd yng ngwaith Duw, y Barnwr cyfiawn, yn cyfrif cyfiawnder perffaith yr Immanuel i bechaduriaid euog a thruenus; a'u cyfrif hwythau yn gyfiawn yn ei ufudd-dod perffaith ef? Prif sylfaen y cyfrifiad ydyw, y berthynas sydd rhwng Crist a'i eglwys, trwy osodiad dwyfol, yng nghyfammod y prynedigaeth. Etholodd y Tad ef yn ben i'r eglwys, sef i'r rhai hynny o ddynolryw ag yr oedd efe, yn ei gariad anfeidrol a'i ras, yn bwriadu eu cadw i fywyd tragywyddol. *Fy etholedig,* (medd y Tad am dano.) *Esa.* 42. 1. *Er tragywyddoldeb y'm henneiniwyd,* (medd Crist.) *Diar.* 8. 23. *Yr hwn yn wir a rag-ordeiniwyd cyn sylfaenu y byd.* 1 *Petr* 1. 20. Etholodd yr eglwys ynddo ef; *Megis yr etholodd efe ni ynddo ef cyn seiliad y byd.* *Eph.* 1. 4. Rhoddodd y Tad hwy i Grist. *Ioan* 17. 6. A rhoddwyd gras iddynt yng Nghrist cyn dechreu y byd. 2 *Tim.* 1. 9. Deuant oll at Grist, ac unir hwy oll â Christ, *yng ngoruchwyliaeth cyflawnder yr*

*amseroedd. Ioan* 6. 37. *Eph.* 1. 10. Ni chyll Crist ddim o honynt. *Ioan* 6. 39. Yn y cyfammod tragywyddol yr oedd Crist yn cael ei olygu yn ben, a hwythau yn gorph iddo; 1 *Cor.* 12. 12. efe yn brïod, a hwythau yn ddyweddi iddo; *Eph.* 5. 25—32. efe i fod yn gyntaf-anedig, a hwythau i fod yn frodyr iddo. *Rhuf.* 8. 29. Gwreiddyn y berthynas a'r undeb sydd rhwng Crist a'i eglwys mewn amser, ac a fydd rhyngddynt i dragywyddoldeb, ydyw gosodiad a sefydliad y berthynas yn y cyfammod tragywyddol. Yn ol y sefydliad hwnnw y cymmerodd efe ein natur ni *yng nghyflawnder yr amser. Gal.* 4. 4. Cyfrannog o gig a gwaed, fel *y plant; ym mhob peth yn gyffelyb i'w frodyr. Heb.* 2. 10—17. Oblegid y berthynas a sefydlwyd yn y cyfammod y cymmerodd efe natur ddynol—natur *y plant*—cyffelyb *i'w frodyr:* felly, yr oeddynt trwy ryw berthynas yn blant, a brodyr o'r blaen. Yn ol y sefydliad yn y cyfammod, y mae Crist yn fechnïydd; *Heb.* 7. 22. ac wedi ymrwymo i dalu dyled ei eglwys, i roddi iawn drosti, a gwneuthur cyfiawnder iddi. Soniasom am fechnïaeth Crist o'r blaen. Yn ol y sefydliad tragywyddol hwnnw, y mae Crist yn *Offeiriad mawr ar dŷ Dduw. Heb.* 10. 21. Offeiriadu dros ei frodyr, *mewn pethau yn perthyn i Dduw, i wneuthur cymmod dros bechodau y bobl. Heb.* 2. 17.

Mae y berthynas a'r undeb sydd rhwng Crist a'i eglwys, yn ol y sefydliad yn y cyfammod tragywyddol, yn sylfaen dau fath o gyfrifiad, sef, cyfrifiad o bechodau yr eglwys i Grist, a chyfrifiad o gyfiawnder Crist i'r eglwys.

1. Perthynas Crist a'i eglwys, yn ol y sefydliad yn y cyfammod tragywyddol, a'i ymrwymiad drosti fel mechnïydd, oedd sylfaen cyfrifiad o bechodau yr eglwys i Grist. *Yr Arglwydd a roddodd arno ef ein hanwiredd ni i gyd. Dyg bechodau llaweroedd. Esa.* 53. 6, 12. *Yr hwn ei hun a ddyg ein pechodau ni yn ei gorph ar y pren.* 1 *Petr* 2. 24. *Yr hwn*

*nid adnabu bechod, a wnaeth efe yn bechod trosom ni.* 2 *Cor.* 5. 21. Dyg *ymaith bechodau llawer; ymddangosodd i ddileu pechod, trwy ei aberthu ei hun. Heb.* 9. 26, 28. Felly, âg un offrwm y perffeithiodd efe yn dragywyddol y rhai sydd wedi eu saneteiddio, (neu eu neillduo.) *Heb.* 10. 14. Yr oedd cyfrifiad o bechodau yr eglwys i Grist, yn cael ei gysgodi yn yr aberthau Iuddewig, dan y ddeddf seremonïol. Yr oedd yn rhaid i'r aberthwr roddi ei law ar ben ei aberth, neu ei offrwm, cyn i'r aberth gael ei ladd, megis pe buasai yn trosglwyddo ei bechodau arno, ac yn newid lle âg ef. Gwel *Lef.* 1. 4. a. 3. 2, 8, 13. a 4. 4. Ac os byddai aberth dros y gynnulleidfa, byddai yr henuriaid yn rhoi eu dwylaw ar ei ben cyn iddo gael ei ladd, megis pe buasent yn trosglwyddo pechodau y gynnulleidfa ar yr aberth. *Lef.* 4. 13, 14, 15. Wedi hynny, yr un enw fyddai gan yr Hebreaid ar bech-aberth ag ar bechod ei hun; oblegid eu bod hwy yn ei olygu, neu yn ei gyfrif dan bechodau: a'r canlyniad o hynny fyddai ei aberthu. Ar ŵyl y cymmod, byddai yr offeiriad yn rhoddi y pechodau, ïe, pechodau yr holl genedl ar ben y bwch: *A gosoded Aaron ei ddwylaw ar ben y bwch byw, a chyffesed arno holl anwiredd meibion Israel, a'u holl gamweddau yn eu holl bechodau; a rhodded hwynt ar ben y bwch.—A'r bwch a ddwg eu holl anwiredd hwynt arno i dir neillduaeth. Lef.* 16. 21, 22. Ni ellir rhoddi un rheswm am y drefn honno yn Israel, oni addefir ei bod yn cysgodi cyfrifiad pechodau ar Grist. Nid oedd yno ond cysgod o'r gwir aberth, a chysgod o gyfrif pechodau ei Israel arno. Crist yw y sylwedd, rhoddwyd ein pechodau ni arno ef, neu gwnaeth y Tad iddynt gyd-gyfarfod arno, *dyg hwy yn ei gorph ar y pren—mynnodd yr Arglwydd ei ddryllio ef. Esa.* 53. 10. *Nid arbedodd ei brïod Fab. Rhuf.* 8. 32. *Offrymmodd ei hun yn ddifai i Dduw.—Wedi ei offrymmu unwaith i ddwyn ymaith bechodau llawer. Heb.* 9. 14, 28. *Ymddengys yr ail waith heb bechod, Adn.* 28.

yr hyn sydd yn dangos nad oedd efe heb bechod pan ymddangosodd gyntaf: yr oedd heb bechod o ran ei hardeb ei hun—*peth sanctaidd, ni wnaeth bechod; etto, yr hwn nid adnabu bechod a wnaeth efe yn bechod trosom ni.* 2 *Cor.* 5. 21.——Yr oedd dau beth yn cydfyned yn y cyfrifiad hwn, sef gwaith y Tad fel Barnwr ac amddiffynwr ei gyfraith a'i lywodraeth, ac etto am achub pechaduriaid, yn cyfrif pechodau ei eglwys ar Grist; a gwaith Crist, fel pen, priod, a mechnïydd yr eglwys, yn eu cymmeryd yn ewyllysgar i'w gyfrif ei hun, i ddioddef y gosp gyfiawn am danynt, ac i roddi iawn perffaith drostynt. Y mae yn amlwg iawn, fod pechodau yr eglwys wedi cael eu cyfrif ar Grist. 1. Pe na buasai pechodau arno, pa fodd y buasai yn dwyn pechodau, ac yn eu dwyn ymaith? nid oedd ganddo bechodau i'w dwyn ymaith ond rhai a gyfrifwyd iddo.——2. Nid rhoi cospedigaeth am bechod, a feddylir yn unig, wrth sôn am roddi pechod, neu anwiredd ar Grist; oblegid nid cospedigaeth a fuasai ei ddioddefiadau, oni buasai fod pechodau wedi eu cyfrif iddo: nid oedd ganddo bechod ei hun i ddioddef cosp am dano.——3. Gwnaethpwyd ef yn bechod, ni ellir meddwl cosp yn y gair hwnnw, 2 *Cor.* 5. 21. oblegid gwnaethpwyd ef yn bechod, y peth nid adnabu; adnabu y gosp yn brofiadol.——4. Ni allasai person heb bechod arno, gael ei wneuthur yn felldith; ond gwnaethpwyd ef yn felldith drosom. *Gal.* 3. 13.——5. Oni buasai fod ein pechodau wedi eu cyfrif i Grist, ni allasai fod yn dioddef a marw yn ein lle; ac heb fod yn ein lle, ni buasai yn iawn trosom. ——Heblaw hyn, ni buasai cyfiawnder Duw yn ymddangos yn ogoneddus yn nioddefiadau ac angau poenus Crist, oni buasai ei fod yn lle pechaduriaid euog, a'u pechodau hwy wedi eu cyfrif arno: ac, os na addefwn hyn, pa fodd y meddyliwn am gyfyngderau ac ing annhraethadwy ei enaid yn ei ddioddefiadau yn yr ardd, ac ar y groes? Paham y cuddiodd y Tad ei wyneb oddi wrtho? a phaham y dywedir, mai am ein

camwеddau ni y drylliwyd ef? *Esa.* 53. 5. Ond wrth ystyried fod ein pechodau ni wedi eu cyfrif arno ef, y mae yn amlwg paham yr oedd ei ddioddefiadau mor ddirfawr, a'i angau mor chwerw. Ond wrth sôn am gyfrif pechodau ar Grist, nid ydym i feddwl, fod anian bechadurus yn cael ei rhoddi i Grist, na'i fod ef yn cael ei halogi â'n pechodau ni: nid yw cyfrif yn newid anian. Nid ydym i feddwl ychwaith, fod cyfrif ein pechodau i Grist wedi ei wneuthur ef yn bechadur; anian, a gweithredoedd pechadurus a wnaethai hynny. Ac nid ydym i feddwl, fod y Tad yn cyfrif mai efe a wnaeth y pechodau hynny; ni allasai yr hwn sydd â'i farn yn ol gwirionedd gyfrif felly. Nid ydym ychwaith i ddychymmygu, fod cyfrif ein pechodau i Grist yn peri iddynt beidio a bod yn bechodau i ni; pe felly, ni buasai Crist yn dioddef dros ein pechodau ni; ond ein pechodau ni oeddynt, wedi eu cyfrif hwy iddo ef.—Ond wrth gyfrif pechodau ar Grist, yr ydym yn deall, fod y Tad, fel Barnwr cyfiawn, yn rhoddi pechodau yr eglwys yn erbyn Crist, fel pen-cyfammodwr a mechnïydd, yn ol y sefydliad yn y cyfammod tragywyddol, eu cyfrif hwy iddo, a'i olygu neu ei gyfrif ef yn gyfrifol i Dduw am danynt, ac yn rhwymedig, yn ol ei fechnïaeth, i ddioddef y gospedigaeth gyfiawn iddynt. Safodd Crist yn ein natur, yn ein lle, fel ein mechnïydd o flaen gorsedd cyfiawnder dros ei eglwys, i atteb am ba bethau bynnag oedd yn cael ei roddi yn ei herbyn, ac megis yn dywedyd, fel Paul wrth Philemon, *Os gwnaeth hi ddim cam â thi, neu, os yw yn dy ddyled, cyfrif hynny arnaf fi, a myfi a'i talaf.* Yr oedd gwaith Crist yn cymmeryd cyfrifiad o'n pechodau, y weithred fwyaf hynod o ufudd-dod i'w Dad; y mae y Tad yn ei garu am hynny. *Heb.* 10. 5, 6. *Ioan* 10. 17, 18. Ac yn hyn hefyd y dangosodd y cariad mwyaf at ei eglwys; cymmerodd ei phechodau, dioddefodd y gosp gyfiawn am danynt, *dyg hwy ymaith; efe yw yr iawn.* Ond er fod iawn wedi ei roddi a'i dderbyn dros holl bechodau pawb a gedwir i fywyd

tragywyddol, y maent *wrth naturiaeth yn blant digofaint*, *Eph*. 2. 3. *a digofaint Duw yn aros arnynt*, nes y credont yng Nghrist. *Ioan* 3. 36. Nid oes ganddynt feddiant yn yr hyn a wnaeth Crist drostynt, cyn credu ynddo ef. Ond y mae efe wedi talu eu dyled yn wirioneddol; ac nid ar antur, neu ar ryw ammod ansicr y talodd, fel y gallant fod byth heb feddiant; nage, ond y mae y drefn i gymhwyso, a dyfod i feddiant, mor sicr a'r drefn i dalu. Bellach, ni a sylwn ar yr ail gyfrifiad, sef,

2. Cyfrifiad o gyfiawnder Crist i'r eglwys. Y mae perthynas agos rhwng y naill a'r llall, bu y naill, fel y byddai y llall; *gwnaethpwyd ef yn bechod, fel y'n gwelid ni yn gyfiawnder*. 2 *Cor*. 5. 21. Yr un ffordd, sef trwy *gyfrifiad*, y gwnaed Crist yn bechod, ac y gwneir yr eglwys yn gyfiawnder; ac ni buasai Crist yn cael ei wneuthur yn bechod, oni buasai y bwriad i wneuthur pechaduriaid o ddynolryw *yn gyfiawnder Duw ynddo ef*. Ond etto, mewn rhai pethau y mae gwahaniaeth mawr rhwng cyfrif ein pechodau ni i Grist, a chyfrif ei gyfiawnder ef i ni. Cyfrifwyd pechodau i Grist fel mechnïydd, dros amser yn unig, i'r diben iddo ddioddef y gospedigaeth gyfiawn am danynt, rhoi iawn drostynt, a'u dileu. Ond ni wnaeth y cyfrifiad un math o gyfnewidiad yn ei gyflwr ef yn bersonol; ac efe a ymadawodd â'r pechodau am byth pan roddodd iawn drostynt. Ond y mae cyfrifiad o'i gyfiawnder ef yn gwneuthur y cyfnewidiad mwyaf yng nghyflyrau dynion, o ran eu sefyllfa ger bron Duw, a'u perthynas âg ef; yr euog o'r blaen yn gyfiawn, y gelyn o'r blaen yn cael ei wneuthur yn gymmeradwy yn yr anwylyd! Ac ar ol cael cyfrifiad o'i gyfiawnder, bydd y rhai y cyfrifir ef iddynt yn gyfiawn byth. Hefyd, cyfrifwyd pechodau yr holl eglwys ar Grist ar unwaith, holl bechodau pawb a gyfiawnheir yn cydgyfarfod yr un pryd arno ef. Ond y mae ei gyfiawnder ef yn cael ei gyfrif i rai yn yr oes hyn a rhai yn yr oes arall, trwy yr holl oesoedd, fel y dygir hwy i dderbyn Crist, ac *i ymos-*

*twng i gyfiawnder Duw*—*y gwneir* llawer yn gyfiawn.——Yr un peth ydyw prif sylfaen y cyfrifiad hwn a'r llall, sef y berthynas sydd rhwng Crist a'i eglwys, trwy sefydliad dwyfol yn y cyfammod tragywyddol; yn ol hynny y cymmerodd efe ddynoliaeth, ac y gwnaeth efe y cyfiawnder yn natur pechaduriaid, ac yn eu lle, ac wrth fodd y Tad; ac yn ol yr un drefn ddoeth dragywyddol y dygir hwy i weled gwerth y cyfiawnder, a'i gymmeradwyo. Er nad trefnu y cyfiawnder yn nhragywyddoldeb, na'i orphen ar y groes, ydyw y cyfiawnhad, ond ei gyfrif; ac i'r rhai a gredant y cyfrifir ef: y maent mor sicr o gael eu dwyn i gredu, a bod y cyfiawnder wedi ei orphen iddynt; y rhai a roddodd y Tad i Grist a ddaw atto. *Ioan* 6. 37. Gan iddo ddwyn eu pechodau, a gwneuthur cyfiawnder iddynt, cyfrifir ef iddynt: *cyfiawnha lawer; canys efe a ddwg eu hanwireddau hwynt.* *Esa.* 53. 11. Ond daw hyn dan ein sylw etto wrth ymdrin â'r peth nesaf; sef,

III. *Y peth sydd yn cael ei gyfrif i bechadur er cyfiawnhad.*—Y mae perygl cam-gymmeryd lawer ffordd yn y peth hyn. Nid yw dyn cwympedig, sydd yn chwilio allan lawer o ddychymmygion, yn arfer mwy o ddychymmygion ynghylch un peth, nag ynghylch y ffordd i fod yn gyfiawn ger bron Duw; ac nid yw gelyniaeth dyn yn erbyn Duw yn ymddangos yn fwy amlwg mewn un ffordd nag yn ei wrthwynebrwydd i drefn Duw yn cyfiawnhau pechadur. Y mae rhai yn hollol yn diystyru sôn am gyfiawnhau trwy ffydd mewn un modd, ac yn disgwyl cael eu derbyn gan Dduw, trwy ryw weithredoedd o'u heiddo eu hunain. Y mae eraill yn addef cyfiawnhad trwy ffydd mewn geiriau, ond etto yn ceisio gwneuthur ffydd yn gyfiawnder iddynt ger bron Duw. Y mae llawer yn diystyru y gair *cyfrif*, ac yn ceisio haeru fod dyn yn cael ei gyfiawnhau trwy ryw beth sydd ynddo, neu trwy ryw beth a gyfrannir iddo. Y mae eraill yn gweled y gair *cyfrif* yn rhy amlwg i'w wadu, yn addef cyfiawnhad trwy *gyfrifiad*, ac etto yn

camsynied naill ai am natur y cyfrifiad, neu am y peth a gyfrifir. Hefyd, y mae rhai yn dirmygu y sôn am gyfiawnhau trwy gyfiawnder Crist; ond y mae eraill yn gweled na ellir gwadu hynny, yn addef mai trwy ei gyfiawnder ef y mae cyfiawnhâu, ac etto yn colli y ffordd wrth ddywedyd am y dull; rhai yn dywedyd mai cyfiawnder Crist a haeddodd i ryw bethau o'n heiddo ni gael eu cyfrif yn gyfiawnder i ni; eraill, mai y canlyniad o'i gyfiawnder, neu ei effeithiau, sydd yn cael eu cyfrif i ni er ein cyfiawnhad. Peth mawr os cawn ein harwain i'r iawn ffordd ynghanol cymmaint o ffyrdd gau. Y mae yr hyn a ddywedwyd eisoes mewn perthynas i gyfiawnhad pechadur, wedi agoryd y ffordd i ni i ddywedyd mewn ychydig eiriau beth sydd yn cael ei gyfrif i'r pechadur yn ei gyfiawnhad. Gan mai gweithred farnol o eiddo Duw y Barnwr cyfiawn yw cyfiawnhâu, a chan mai y ddeddf foesol yw rheol ddigyfnewid cyfiawnder i ddyn, bod dyn yn droseddwr o honi, ac yn euog yn ei hwyneb, a than ei melldith, ac felly yn ammhossibl iddo gael ei gyfiawnhau trwy un math o gyfiawnder o'i eiddo ei hun, oblegid ni fedd ac ni all wneuthur byth y cyfiawnder perffaith mae y ddeddf yn ei ofyn, ac ni chyfiawnha Duw neb heb gyfiawnder perffaith; felly, y mae yn amlwg nad oes modd cyfiawnhau dyn ond trwy gyfiawnder un arall; cyfiawnder wedi ei drefnu yn y cyfammod tragywyddol, a'i wneuthur yn y natur ddynol, yn lle y dynion a gyfiawnheir, ac yn gyfiawnder perffaith wrth fodd y Tad. Y mae cyfiawnder Crist felly, a'i gyfiawnder ef yn unig sydd felly; am hynny y mae yn eglur mai cyfiawnder Crist sydd yn cael ei gyfrif i'r pechadur sydd yn credu, ac yn y cyfiawnder hwnnw y mae yn cael ei olygu a'i farnu yn gyfiawn ger bron Duw.

1. Nid cyfrif rhyw beth arall, megis edifeirwch, ufudd-dod diffuant, neu ffydd, &c. yn gyfiawnder i ni, er mwyn cyfiawnder Crist; oblegid nid yw y pethau hynny yn gyfiawnder, am hynny ni all Duw eu cyfrif felly, na chyfrif pechadur yn

gyfiawn o'u plegid. Nid ennill modd i Dduw wneuthur cam farn a wnaeth Crist trwy ei ufudd-dod perffaith.

2. Nid y canlyniad a'r effeithiau o gyfiawnder Crist sydd yn cael eu cyfrif i bechaduriaid yn gyfiawnder; ni thalai cyfrif yr effeithiau, y mae eisiau bod yn gyfrannogion o'r rhai hynny, megis heddwch â Duw, maddeuant pechodau, sancteiddhad, a bywyd tragywyddol: y mae sôn am gyfrif effeithiau yn anghysson iawn yn wyneb yr Ysgrythyrau. Camwedd cyntaf Adda, cynddrychiolwr dynolryw yn y cyfammod yn Eden, sydd yn cael ei *gyfrif* i'w holl hâd: *trwy anufudd-dod un dyn y gwnaethpwyd llawer yn bechaduriaid.* *Rhuf.* 5. 19. Gwneuthur yn bechaduriaid mewn barn, eu *cyfrif* felly; ond yr ydym yn profi ein bod yn gyfrannogion o'r effeithiau. Felly, hefyd, ein pechodau ni a gyfrifwyd i Grist, ei *wneuthur* yn bechod, 2 *Cor.* 5. 21. sef mewn barn, cyfrif pechodau iddo, ond nid *cyfrif* yr effeithiau a'r canlyniad o'n pechodau ni a wnaeth Duw; ond profodd, dioddefodd Crist y rhai hynny. Yr un modd y llefarir am gyfiawnhau pechaduriaid, *trwy ufudd-dod un y gwneir llawer yn gyfiawn, Rhuf.* 5. 19.—*fel y'n gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef.* 2 *Cor.* 5. 21. *Gwneuthur* yn gyfiawn, yr un modd a *gwneuthur* llawer yn bechaduriaid, neu *wneuthur* Crist yn bechod: gwneuthur mewn barn mae y gair yn arwyddo am y tri pheth. Gwnaethpwyd Crist yn bechod trwy *gyfrif* iddo y pechodau a wnaeth ac a wnai y pechaduriaid yr oedd efe yn eu lle: felly, gwneir llawer yn gyfiawn trwy *gyfrif* iddynt ei gyfiawnder neu ei ufudd-dod ef; hynny yw, y mae yr hyn a wnaeth ac a ddioddefodd Crist yn eu lle, fel cyfryngwr a mechnïydd y cyfammod, yn cael ei gyfrif, ei olygu, neu ei farnu gan Dduw yn gyfiawnder iddynt y mynud y credont yng Nghrist, a hwythau yn cael eu cyfrif yn gyfiawn ger ei fron ynddo. Y mae y cyfiawnder sydd yn cael ei *gyfrif* i bob un sydd yn credu, yn gyfiawnder perffaith, yn gyfiawn y peth mae y

ddeddf sanctaidd yn ei ofyn; wedi cael ei wneuthur yn y manylrwydd mwyaf yn ol y cyfammod, yn eu natur, ac yn eu lle, yn berffaith wrth fodd y Tad. I'w gyfrif i ddynion y gwnaed y cyfiawnder hwn; cyfrifir ef yn sicr i'r rhai y gwnaethpwyd ef iddynt, dygir hwy i weled ei eisiau, i weled ei werth, a'i ogoniant, ac i'w gymmeradwyo a'i dderbyn. Ni all cyfrif dim arall wneuthur pechadur yn gyfiawn yn wyneb gorsedd Duw, a manylrwydd ac ysprydolrwydd y gyfraith; ond wrth *gyfrif* y cyfiawnder hwn, y mae *cyfiawnder y ddeddf* yn cael ei gyflawni ynom ni, *Rhuf.* 8. 4. hynny yw, gwnaeth Crist y cyfiawnder perffaith mae y ddeddf yn ei ofyn, yn ein natur ac yn ein lle ni, i'w gyfrif i ni. Gwnaeth gyfiawnder ar unwaith i'r holl eglwys; ond mae y cyfiawnder yn cael ei gyfrif i bob un y pryd y byddo efe yn cael ei ddwyn i gredu yn Mab Duw. Nid yw yn addas dywedyd fod cyfiawnder Crist, fel y gwnaed ef i'r holl eglwys, yn cael ei gyfrif i bob credadyn; ond yn hytrach fod yr hyn a wnaeth ac a ddioddefodd Crist yn ei le yn cael ei gyfrif iddo. Y mae cymmaint ag all cyfiawnder a'r gyfraith yn ei ofyn ganddo, yn cael ei gyfrif iddo; y mae yn cael ei gyfiawnhau oddiwrth yr holl bethau oedd yn cael eu rhoddi yn ei erbyn o flaen gorsedd Duw. *Act.* 13. 39. Mae yn cael ei olygu a'i farnu yn gyfiawn gan Dduw yng nghyfiawnder Crist y mechnïydd drosto; felly, y mae *Duw yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhau y neb sydd o ffydd Iesu. Rhuf* 3. 26. Nid ydym i feddwl fod Duw yn cyfrif mai y credadyn a wnaeth y cyfiawnder—mai efe a aned yn beth sanctaidd—a fu fyw heb adnabod pechod—a fu farw dan y felldith—ac a roddodd i'r gofynwyr cyfiawn yr hyn oeddynt yn ei ofyn; nid barnu yn ol gwirionedd a fyddai hynny. Ond cyfrif y mae Duw yr hyn a wnaeth ac a ddioddefodd Crist, fel mechnïydd y cyfammod, yn eu lle, yn gyfiawnder i'r rhai sydd yn credu, a'u cyfrif hwythau yn gyfiawn ynddo; *cyfiawnder Duw ynddo ef.* Dyma ffordd ogoneddus i gyfiawnhau pech-

aduriaid! Y mae hi yn dwyn y gogoniant mynegol mwyaf i Dduw, a'r diogelwch a'r cysur mwyaf i'r credadyn. Y gyfraith yn aros yn ddigyfnewid, ac yn cael ei mawrhau a'i chadarnhau; cyfiawnder heb leihau ei ofynion, ac yn cael ei foddloni yn berffaith; pechod yn cael ei gospi yn ol ei haeddiant; pechadur yn cael ei gyfiawnhau yn y llys uchaf, o flaen yr orsedd buraf, gan y Barnwr cyfiawnaf! Gan fod y fath fawredd gogoneddus yn y drefn o gyfiawnhau pechadur trwy gyfrif cyfiawnder iddo, ni a ymofynwn,

IV. *Beth yw y canlyniad o'r cyfrifiad hwn.*—Gan fod y drefn hon i gyfiawnhau pechadur yn meddwl Duw cyn sylfaenu y byd; a bod cynghor a chyfammod tragywyddol rhwng y Personau anfeidrol ynghylch y drefn; a bod Person anfeidrol wedi cael ei anfon i wneuthur y cyfiawnder; a bod cyfiawnder cyflawn, perffaith, a gogoneddus wedi cael ei orphen ganddo i bechaduriaid euog o ddynolryw; pan y mae y cyfiawnder hwn yn cael ei gyfrif iddynt, y mae yn sicr fod rhyw bethau mawr yn canlyn; ac felly y mae.

1. Peidio cyfrif pechod iddynt. *Gwyn ei fyd, y dyn ni chyfrif yr Arglwydd iddo anwiredd.* *Ps.* 32. 2. *Y mae Dafydd yn datgan dedwyddwch y dyn y mae Duw yn cyfrif cyfiawnder iddo.—Dedwydd yw y gwr nid yw yr Arglwydd yn cyfrif pechod iddo.* *Rhuf.* 4. 6, 8. Nid yw yr Arglwydd yn cyfrif na phechasant, nac yn barnu nad oes ynddynt bechod, nac yn edrych ar eu pechodau yn ddiniwed: ond er ei fod yn gweled fod eu pechodau yn fawrion, yn atgas, ac yn lliosog iawn, yn haeddu melldith a digofaint tragywyddol; etto, nid yw yn eu rhoddi yn eu cyfrif, neu yn eu herbyn mewn barn. Ond pan y mae efe yn cyfrif cyfiawnder y mechnïydd i'r pechadur sydd yn edrych atto am ymwared, wedi colli ei fywyd ym mhob man arall, y mae megis yn peidio craffu ar anwiredd, (*Ps.* 130. 3, 4.) i fyned i farn â'r pechadur o'u plegid; *Ps.* 143. 2. y mae megis yn *eu taflu y tu ol i'w gefn;* *Esa.* 38. 17.

*ac i ddyfnder y môr; Mica* 7. 19. a'u claddu megis mewn anghof tragywyddol. *Esa.* 43. 25. *Heb.* 8. 12. Ni chollfarna ef hwy am eu pechodau; ac ni chospa hwy yn ol haeddiant eu hanwireddau. Etto, efe a'u cerydda hwy er eu llesâd.

2. Heddwch â Duw. *Wedi ein cyfiawnhau trwy ffydd, y mae gennym heddwch tu ag at Dduw. Rhuf.* 5. 1. Nid oes neb mewn heddwch â Duw yn y byd, ond y rhai y cyfrifwyd cyfiawnder Crist iddynt—y mae ei ddigofaint yn aros arnynt (*Ioan* 3. 36.) hyd hynny; ac ni all neb fod dan ddigofaint Duw, ac yn ei heddwch yr un pryd; ond pan y mae y pechadur yn derbyn Crist, a Duw yn cyfrif ei gyfiawnder ef iddo, y mae y rhwyg a wnaeth pechod rhyngddo ef a Duw, yn cael ei wneuthur i fynu; y mae *Duw yng Nghrist yn cymmodi,* 2 *Cor.* 5. 19. a'r pechadur trwy dderbyn Crist a'i gyfiawnder, yn *derbyn y cymmod. Rhuf.* 5. 11.

3. Rhyddhad oddiwrth felldith y ddeddf. *Crist a'n llwyrbrynodd ni oddiwrth felldith y ddeddf. Gal.* 3. 13. Aeth Crist y mechnïydd dan y ddeddf; cymmerodd ei melldith, fel yr oedd hi yn sefyll yn y cyfammod yn Eden, yn ein lle ni. Dioddefodd ei melldith yn gyflawn. Yr oedd y fath rinwedd anfeidrol yn ei ddioddefiadau, fel y *llwyr-brynodd ni:* a phan y mae pechadur yn credu yng Nghrist, a Duw yn cyfrif ei gyfiawnder ef iddo, y mae yn marw i'r ddeddf, ac yn cael ei ryddhau oddiwrth ei melldith; *nid oes i'r ail farwolaeth awdurdod arno.*

4. Cymmeradwyaeth eu personau gyda Duw. *Gwnaeth ni yn gymmeradwy yn yr Anwylyd. Eph.* 1. 6. Nid dyma arfer dyn; y mae dynion yn maddeu yn fynych, etto heb gymmeradwyo y personau y maddeuont iddynt. Y mae brenhinoedd y ddaear yn maddeu i dynion y gollfarn ac achub bywyd, weithiau, ond ni byddant yn derbyn y troseddwyr i'w cyfeillach; ond pan y mae ein Duw ni yn cyfrif cyfiawnder ei Fab i bechadur, y mae nid yn unig yn cuddio ei bechodau, ond

hefyd yn cymmeradwyo ei berson, y mae yng Nghrist wrth ei fodd; y mae yn ei dderbyn yn gyfaill iddo, fel y dywedwyd am Abraham, yr hwn a gyfiawnhawyd trwy gyfrif cyfiawnder iddo, *A chyfaill Duw y galwyd ef. Iago* 2. 23.Ië, y mae yn blentyn, ac yn cael nesau at Dduw fel ei Dad. *Eph.* 2. 18. *Rhyddid i fyned i mewn i'r cyssegr trwy waed Iesu. Heb.* 10. 19. Nid oes un ffordd i gymmeradwyo un dyn gyda Duw ond yng nghyfiawnder Crist. Nid oes un mab afradlon yn cael myned i wledda ar y llo pasgedig, ond yn y wisg oreu. —*Sylw.* Y mae yn ofer disgwyl y derbyn Duw ein gwaith, a'n personau yn anghymmeradwy.

5. Heddwch cydwybod. Y mae gwaed Crist yn *puro y gydwybod oddiwrth weithredoedd meirwon. Heb.* 9. 14. Ni bydd cydwybod wedi cael ei deffro, yn foddlon ond yn y boddlonrwydd y mae Duw yn ei gael. Ond pan y gwelo cydwybod fod Duw yn cyfrif cyfiawnder perffaith Crist i'r pechadur, ac yn peidio cyfrif pechod iddo, ond yn ei faddeu oll trwy yr iawn, a bod Duw yn derbyn ac yn cymmeradwyo y pechadur yng Nghrist, y mae hi yn ymdawelu; nid mewn ystyriaeth o fawredd Duw, mawr ddrwg ac amledd y pechodau; ond yn yr olwg ar y drefn ogoneddus i gyfiawnhau, a thrwy brofi maddeuant pechodau.

6. Hawl i fywyd tragywyddol. Y mae cyfiawnhad trwy gyfiawnder un arall yn cael ei alw, *cyfiawnhad bywyd. Rhuf.* 5. 8. Caiff y rhai sydd yn derbyn *dawn cyfiawnder*, (sef, cyfiawnder Crist sydd yn ddawn neu yn rhodd i ni, ond rhodd annhraethol ei gwerth) deyrnasu mewn bywyd trwy un, Iesu Grist. *Adn.* 17. Dan ddedfryd i farw, ïe, i farw byth yr oeddem ni; melldith y cyfammod torredig, *gan farw ti a fyddi farw*, oedd llais cyfiawnder a'r gyfraith uwch ein pennau ym mhob man; ond, O, ras anfeidrol! aeth Iesu y mechnïydd dan y ddedfryd, dan y goll-farn yn ein lle! gwnaethpwyd *ef yn felldith trosom*—dioddefodd y felldith, bu farw,

talodd y ddyled, boddlonodd gyfiawnder, gorphenwyd.—Cyfiawnhawyd ef fel merhnïydd pan adgyfododd. 1 *Tim.* 3. 16. *Cyfododd hefyd i'n cyfiawnhau ni. Rhuf.* 4. 25. Pan y mae Duw yn dwyn pechadur i gredu ynddo, ac yn cyfrif ei gyfiawnder ef i'r pechadur, y mae y goll-farn, neu ddedfryd angau yn cael ei thynnu oddiar y pechadur pan y byddo yn credu yng Nghrist. *Nid oes dim damnedigaeth i'r rhai sydd yng Nghrist Iesu. Rhuf.* 8. 1. *Ni chollir pwy bynnag a gredo ynddo, caiff fywyd tragywyddol—aeth trwodd o farwolaeth i fywyd—y mae ganddo fywyd tragywyddol.* Gwel *Ioan* 3. 15, 16, 36. a 5. 24. Y mae bywyd tragywyddol yn sicr yn canlyn cyfrifiad o gyfiawnder Crist. *Pwy rydd ddim yn erbyn etholedigion Duw? Duw yw yr hwn sydd yn cyfiawnhau. Rhuf.* 8. 33. Bydd yn ofer i uffern a daear geisio cael collfarnu y rhai y mae Duw yn eu cyfiawnhau. Y mae holl briodoliaethau Duw, ac eiriolaeth Crist, o blaid iddynt gael bywyd. *Mwy o lawer, a nyni yn awr wedi ein cyfiawnhau trwy ei waed ef, y'n hachubir rhag digofaint trwyddo ef. Rhuf.* 5. 9, 10. Cymmwysir hwy i fywyd tragywyddol; cant ddyfod i'w hetifeddiaeth pan y delont i'w hoed.

V. *Sylwn ychydig ar rai o'r gwrthddadleuon a arferir yn erbyn cyfrifiad o gyfiawnder Crist.*—Y mae syniad y cnawd sydd yn elyniaeth yn erbyn Duw, yn elyniol iawn i'w drefn yn cadw pechaduriaid; ac y mae dyn anianol, yr hwn nid yw yn deall nac yn derbyn y pethau sydd o Yspryd Duw, yn eu barnu yn ffolineb; a rhag cyfaddef mai efe sydd yn ffol, a gelynol, a thrwy hynny ei fod yn methu eu gwybod a'u derbyn, y mae efe yn cyfodi lliaws o wrthddadleuon yn eu herbyn, heb ystyried ei fod, fel y dywedodd yr apostol Paul, *yn dadleu yn erbyn Duw.* Nid oes yr un gangen o athrawiaeth yr Efengyl a mwy o wrthddadleuon yn cael eu cyfodi yn ei herbyn na'r gangen hon o'r athrawiaeth, am gyfrifiad o gyfiawnder Crist i'r rhai a gredant, er cyfiawnhad iddynt ger bron Duw. Y

mae llawer o'r gwrthddadleuon a arferir mor ynfyd, a disail, fel nad ydynt yn werth sylwi arnynt; etto, er mwyn rhai gweiniaid, a all fod mewn dyryswch yn eu meddyliau, trwy rai o honynt, ni a sylwn ar y rhai pennaf, a dangoswn nad oes sylwedd ynddynt.

GWRTHDDADL. 1. *Os ydy'w pechadur yn cael ei gyfiawnhau ger bron Duw trwy ufudd-dod perffaith Crist i'r gyfraith, yna y mae dyn yn cael ei gyfiawnhau trwy weithredoedd y ddeddf yn wrthwyneb i'r hyn a ddywedir yn yr Ysgrythyr.*

ATTEB. Y mae yn wir fod yr Ysgrythyr yn dywedyd, *na chyfiawnheir neb trwy y ddeddf, na thrwy weithredoedd y ddeddf.* Ond yr achos o hynny, yw, ein bod ni yn droseddwyr, ac na allwn, ac na fynnwn wneuthur y gweithredoedd perffaith y mae hi yn ei ofyn. Ni all y ddeddf gyfiawnhau na rhyddhau oddiwrth ddamnedigaeth, *o herwydd ei bod yn wan trwy y cnawd. Rhuf.* 8. 3. Y mae hi yn wan i gyfiawnhau dyn, oblegid fod dyn yn wan i roddi ufudd-dod perffaith iddi hi. Pe gallasai y ddeddf fywhau pechadur, i roddi ufudd-dod perffaith iddi, trwyddi hi y buasai cyfiawnder. *Gal.* 3. 21. Gan fod y ddeddf yn ddigyfnewid, fel y profwyd ei bod, yr oedd yn rhaid cael ufudd-dod perffaith iddi, cyn y gellid cyfiawnhau dyn. Rhaid *cyflawni cyfiawnder y ddeddf ynom ni,* neu yn ein lle. *Rhuf.* 8. 4. Gwir yw, na *chyfiawnheir un cnawd trwy weithredoedd y ddeddf. Rhuf.* 3. 20. Ac mor wir yw, hefyd, mai *trwy ufudd-dod un y gwneir llawer yn gyfiawn. Rhuf.* 5. 19. Rhaid i'r ddeddf gael ufudd-dod perffaith; ni allasem ni ei roddi; am hynny ni allasem gael ein cyfiawnhau trwyddi. Gwnaethpwyd Iesu yn fechnïydd, aeth dan y ddeddf yn ein lle, ufuddhaodd iddi yn berffaith, ïe, hyd angau y groes; dioddefodd ei melldith drosom. *Phil.* 2. 8. *Gal.* 3. 13. Y mae *yn ddiwedd i'r ddeddf er cyfiawnder. Rhuf.* 10. 4. Felly, y mae yn amlwg, er na chyfiawnheir neb

trwy ei ufudd-dod ei hun i'r ddeddf, fod yn rhaid cyfiawnhau pawb a gyfiawnheir, trwy ufudd-dod Iesu y mechnïydd yn eu lle.

GWRTHDDADL 2. *Nad oedd ufudd-dod Crist yn atteb yn llawn i'r hyn y mae y ddeddf yn ei ofyn i'w holl bobl, oblegid na bu efe yn sefyllfa, ac amgylchiadau llawer o honynt, megis yn sefyllfa gwyr a gwragedd, &c.*

ATTEB. Y mae ynfydrwydd a chabledd yr wrthddadl hon yn amlwg; oblegid ni chymmerodd Mab Duw berson dynol i fyned i sefyllfa bersonol pob un o'i bobl; ond cymmerodd natur ddynol, ac aeth i le ei holl eglwys, bob aelod fel eu gilydd, heb wahaniaeth gradd, nac oed, gwrryw na benyw. Yr oedd ei ddynoliaeth yn berffaith y peth oedd y ddeddf yn ofyn i'r natur ddynol fod; a gwnaeth yn gyflawn a diball y pethau oedd y ddeddf yn ei ofyn i'r natur ddynol. *Carodd Dduw â'i holl galon, a'i gymmydog fel ef ei hun—cyflawnder y gyfraith yw cariad. Rhuf.* 13. 10. Nid oes dim yn eisiau i lenwi ein lle ym mhob sefyllfa yn berffaith, ond *caru* Duw â'n holl galon, a dynion fel ni ein hunain. Felly, gwelwn fod ufudd-dod Crist yn berffaith; ni allasai ofyn mwy nag a gafodd hi ganddo ef.

GWRTHDDADL 3. *Onid oedd yn ddyledus i Grist, fel dyn, ufuddhau i'r ddeddf drosto ei hun? ac os felly, pa fodd y cyfrifir ei ufudd-dod ef yn gyfiawnder i ni?*

ATTEB. Ufudd-dod Crist fel Cyfryngwr y cymmod sydd yn cael ei gyfrif. Y mae person y Cyfryngwr yn Dduw dyn. *Pwrcasodd Duw ei eglwys â'i brïod waed. Act.* 20. 28. Er fod ufudd-dod Crist hyd angau y groes, wedi cael ei gyflawni yn y natur ddynol; etto, person Crist oedd yn ufuddhau, *er ei fod yn Fab dysgodd ufudd-dod. Heb.* 5. 8. *Yr hwn ac efe yn ffurf Duw—a fu ufudd hyd angau. Phil.* 2. 6—8. Cymmerodd Mab Duw y natur ddynol i undeb â'i Berson Dwyfol. Pe gallasem ystyried natur ddynol Crist ar wahân oddiwrth ei Berson, gallasem feddwl ei bod yn rhwym drosti ei hun i ufuddhau:

ond ni bu natur ddynol Crist erioed felly; unwyd hi yn ei ffurfiad cyntaf â pherson Mab Duw; natur ddynol y Person Dwyfol oedd, ac ydyw; felly, priodolir ei gweithredoedd a'i dioddefiadau i'r person oedd ac sydd yn Dduw-dyn. Y mae y person hwnnw uwchlaw y ddeddf. *Y mae Mab y dyn yn Arglwydd ar y sabboth.* *Marc* 2. 28. Felly, mae yn Arglwydd ar y gyfraith. Yr oedd natur ddynol Crist wedi ei chyfodi i'r fath ddyrchafiad yn ei hundeb â'r Person Dwyfol, fel yr oedd y person hwnnw yn y preseb yn wrthddrych addoliad yr holl angelion. *Heb.* 1. 6. Y mae yn wir iddo gael *ei wneuthur o wraig, a'i wneuthur dan y ddeddf,* *Gal.* 4. 4. ond nid o ddyled, na gorfod; ond yn ewyllysgar y gwnaeth ef y naill a'r llall, yn ol y cyfammod a'r drefn cyn sylfaenu y byd. 1 *Petr* 1. 20. I ni y ganed ef, ac y gwnaethpwyd ef dan y ddeddf; i ni y mae yr ufudd-dod, *Bachgen a aned i ni, Esa.* 9. 6.—*ganed i chwi geidwad.* *Luc* 2. 11. Fel cynddrychiolwr a mechnïydd, yr oedd Crist yn ufuddhau. Nid oedd dynoliaeth Crist i'w hystyried dan y cyfammod yn Eden; y rhai sydd yn dyfod i'r byd trwy genhedliad naturiol oedd yn hwnnw: ond cafodd Mab Duw natur ddynol yn ol ei gyfammod â'i Dad yn nhragywyddoldeb. *Ps.* 40. 6. *Heb.* 10. 5. *Rhuf.* 8. 4. Ond efe a aeth yn lle ei eglwys dan y ddeddf, fel yr oedd hi yn sefyll yn y cyfammod yn Eden. Ufuddhaodd i gael bywyd i'w eglwys; a dioddefodd yr angau oedd yn melldith y ddeddf iddi hi. Am hynny, y mae yn addas cyfrif ei gyfiawnder i'r eglwys. Dywedodd yr eglwys, mai *yr Arglwydd ei chyfiawnder* yw ei enw, *Jer.* 23. 6. ac mai ynddo y mae iddi gyfiawnder. *Esa.* 45. 24.

Gwrthddadl. 4. *Pa fodd y gall ufudd-dod un wneuthur eraill yn gyfiawn? ie, gwneuthur llawer yn gyfiawn?*

Atteb. 1. Oblegid bod yr un bendigedig hwn, sef Crist wedi cael ei osod gan y Tad, yn y cyfammod tragywyddol, yn ben-cynddrychiolwr i'r llawer hynny; ac efe wedi cymmeryd

eu hachos, ac ymrwymo drostynt o'i fodd; wedi cymmeryd eu natur a'u lle, yng nghyflawnder yr amser, ac ufuddhau a dioddef drostynt, er llawn foddlonrwydd eu holl ofynwyr. Yn ganlynol, pan y dygir hwy i gredu ynddo, y mae yn addas cyfrif ei gyfiawnder ef iddynt. Rhyddheir gwraig trwy i'w phriod dalu drosti. Gwnaeth Crist hynny. *Eph.* 5. 25. Rhyddheir dyledwyr mawr trwy i'w mechnïydd dalu yn llawn yn eu lle; cyfrifir y taliad i'r dyledwyr, i'w rhyddhau; gwna ufudd-dod Crist ei holl hâd yn gyfiawn, fel y gwnaeth anufudd-dod Adda, ei holl hâd yn bechaduriaid. *Rhuf.* 5. 12—19.

2. Y mae ufudd-dod un yn gwneuthur *llawer* yn gyfiawn, heb fod un cyfnewidiad yn y gyfraith, ac heb i'r Barnwr wyro barn wrth eu cyfiawnhau; oblegid mawredd anfeidrol y person a wnaeth y cyfiawnder, a pherffeithrwydd y cyfiawnder a wnaeth efe. Yr oedd y natur ddynol wrth ufuddhau, wrth ddioddef a marw, mewn undeb annattodol â pherson tragywyddol y Gair. Felly, yr oedd yr ufudd-dod a'r dioddefiadau yn derbyn mawredd anfeidrol oddiwrth fawredd y person. Yr oedd deddf Duw yn cael ei mawrhau yn fwy trwy ei ufudd-dod ef, na phe buasai yr holl rai yr oedd efe yn sefyll yn eu lle, yn berffaith ufudd byth; a chyfiawnder dwyfol yn cael ei foddloni yn fwy yn ei ddioddefiadau ef, na phe buasai y llawer a waeir yn gyfiawn yn dioddef am eu pechodau i dragywyddoldeb.

GWRTHDDADL. 5. *Pa fodd y gellir dywedyd i Grist ddioddef cospedigaeth am ein pechodau ni; ïe, yr un gospedigaeth ag oeddym yn ei haeddu, gan nad oedd ond un yn dioddef dros fyrddiynau aneirif, am ychydig amser dros y rhai a fuasai yn dioddef byth, oni buasai ei angau ef? ac nid oedd anobaith yn ei enaid dan ei ddioddefiadau.*

ATTEB. Yr oedd y person a ddioddefodd ar y groes yn anfeidrol fwy na'r dyrfa fawr na ddichon neb ei rhifo—y rhai yr oedd efe yn dioddef yn eu lle: er mai ei ddynoliaeth yn unig oedd yn dioddef, a marw, etto, yr oedd mawredd anfeidrol y

person yn rhoddi mawredd anfeidrol yn y ddioddefiadau.—*Croeshoeliwyd Arglwydd y gogoniant. Lladdwyd Tywysog y bywyd. Pwrcaswyd yr eglwys â phriod waed Duw!* Nid oedd dioddef yn dragywyddol yn anhepgorol yn natur y gosp y mae pechod yn ei haeddu. Y mae tragywyddol gospedigaeth y damnedigion yn tarddu o ddiffyg anfeidroldeb, a gwerth boddlonol yn eu dioddefiadau. Ond yr oedd hynny yn nioddefiadau Crist; am hynny, dioddefodd ddigon mewn ychydig amser; talodd, boddlonwyd, gorphenwyd! Nid oedd anobaith ychwaith yn perthyn yn naturiol i'r gosp; ond y mae anobaith yn y rhai sydd yn dioddef am eu pechodau yn tarddu oddiar anallu i roddi iawn a boddlonrwydd; ond gwyddai Crist y denai ef trwy ei ddioddefiadau yn fuddugoliaethus: *Gwn na'm cywilyddir, agos yw yr hwn a'm cyfiawnha,* ebefe, cyn dechreu dioddef. *Esa.* 50. 7, 8. Dywedodd am ei adgyfodiad, ei esgyniad, a'i eisteddiad ar ddeheulaw y Tad, cyn myned i ddioddef. Ac ar y groes, yn nyfnder ei ddioddefiadau dirfawr, gwelodd y cai fyned i baradwys, a'r lleidr edifeiriol ganddo, fel prawf iddo roi llawn foddlonrwydd ar y groes.

GWRTHDDADL 6. *Os ydyw cyfiawnder perffaith Crist yn cael ei gyfrif i ddynion, yna, y mae y dynion hynny mor gyfiawn 'u Christ ei hun.*

ATTEB. Nid yw Duw yn cyfrif fod yr hwn sydd yn credu yng Nghrist, y peth ydyw Crist; cabledd fyddai cynnwys meddwl felly. Nid yw Duw ychwaith pan y mae yn cyfrif cyfiawnder Crist i bechadur, yn cyfrif mai y pechadur a wnaeth y cyfiawnder; nac yn rhoddi y cyfiawnder yn gyfrannogol yn y pechadur. Ac nid cyfiawnder hanfodol Crist, fel Duw, sydd yn cael ei gyfrif i'r pechadur; ond yr hyn a wnaeth ac a ddioddefodd Crist, fel mechnïydd dros ac yn lle y pechadur, sydd yn cael ei gyfrif iddo er ei gyfiawnhad ger bron Duw pan y credo efe yng Nghrist. Ai addas haeru, fod y dyledwr mor

gyfoethog a'r mechnïydd, oblegid fod y mechnïydd wedi talu ei holl ddyled ef?

GWRTHDDADL 7. *Os ydyw cyfiawnder perffaith Crist yn cael ei gyfrif i'r rhai sydd yn credu, yna, nid ydynt bechaduriaid, ac nid oes arnynt eisiau maddeuant pechodau.*

ATTEB. Oni buasai eu bod yn bechaduriaid, ni buasai eisiau cyfrif cyfiawnder Crist iddynt; ac nid yw y cyfrifiad yn tynnu pechod o'i natur. Mae y rhai cyfiawn yn cael eu gofidio ganddo yn fwy na neb arall. Gwel *Rhuf.* 7. 12—24. Er fod Duw yn cyfrif cyfiawnder Crist iddynt, nes y maent yn *ddifai ger bron gorseddfainge Duw*, yn eu cyfiawnhad, y mae llygredd yn parhau, ammherffaith yw eu sancteiddiad etto; ac er fod eu holl bechodau a aeth heibio wedi cael eu maddeu, a hwythau wedi cael eu dwyn i gyflwr na ddemnir mo honynt am eu pechodau, etto, y maent yn pechu beunydd, ac angen gweddïo bob dydd, *A maddeu i ni ein dyledion.* Er fod Duw wedi cuddio eu pechodau, a pheidio eu cyfrif yn y cyfiawnhad, fel na farn efe hwy yn ol eu pechodau; etto, y mae yn gweled pob pechod ynddynt, ac yn eu ffieiddio a'u casâu â chas cyflawn, ac yn ceryddu yn llym am danynt—*ceryddu y rhai y mae yn eu caru.*

GWRTHDDADL 8. *Os ydyw ufudd-dod Crist i'r ddeddf trosom ni, yn cael ei gyfrif gan Dduw i ni, yna, nid oes dyled arnom ni i ufuddhau i'r ddeddf mwyach.*

ATTEB. Mae yn wir nad ydynt yn rhwym i ufuddhau i'r ddeddf i'r diben i gael bywyd trwyddi, neu i wneuthur cyfiawnder i sefyll ynddo ger bron Duw: y maent wedi marw i'r ddeddf fel yr oedd hi yn sefyll yn y cyfammod gweithredoedd; *Rhuf.* 7. 4. *Gal.* 2. 19. etto, y maent ar amryw olygiadau eraill yn rhwym i ufuddhau i'r ddeddf, ïe, i roddi ufudd-dod perffaith iddi. Y maent, fel creaduriaid rhesymmol, dan rwymau tragywyddol i ufuddhau i'r ddeddf foesol; nid oes dim a ddettyd y rhwymau

hyn; yn enwedig, nid yw credu yng Nghrist yn eu dattod, oblegid *yr ydym trwy ffydd yn cadarnhau y ddeddf*, *Rhuf.* 3. 31. *a dylai y rhai a gredasant i Dduw, ofalu am flaenori mewn gweithredoedd da. Tit.* 3. 8. Mae y rhai sydd yn credu yng Nghrist, yn caru Duw, a'r *rhai a'i carant, yn cadw ei orchymynion.* Mae y gyfraith yn eu calon. Y maent yn ufuddhau o egwyddor uniawn, o gariad at Dduw a sancteiddrwydd. Y mae yr ufudd-dod yma yn angenrheidiol i brofi gwirionedd eu ffydd, a'u cariad at Dduw, i ogoneddu Duw, i harddu athrawiaeth Duw; a dyma un o'r ffyrdd i gael cymdeithas â Duw; a'r ffordd y mae y saint yn myned ar hyd-ddi tu a'r nef.

GWRTHDDADL 9. *Onid ydyw yr apostol Iago yn dywedyd yn eglur, mai o weithredoedd y cyfiawnheir dyn, ac nid o ffydd yn unig. Iago* 2. 21, 24.

ATTEB. Dywedodd yr apostol Paul fel hyn, *Yn gwybod nad ydys yn cyfiawnhau dyn trwy weithredoedd y ddeddf, ond trwy ffydd Iesu Grist. Gal.* 2. 16. Y mae yn sicr nad oedd y naill apostol yn dywedyd yn erbyn y llall; felly, y mae yn rhaid i ni ddeall nad oeddynt yn llefaru am yr un peth. Yr oedd Paul yn dywedyd am y ffordd i bechadur euog tlawd gael ei gyfiawnhau ger bron Duw, yr hwn y pechodd ef yn ei erbyn; o flaen yr hwn ni allai agoryd ei enau: *Rhuf.* 3. 19. a'r apostol Iago yn dangos pa fodd y dylai rhai yn proffesu yr efengyl ymddwyn, fel y gallent ddangos, fod y ffydd oeddynt yn broffesu fod ganddynt, yn wirioneddol—dangos mai ofer i rai broffesu fod ganddynt ffydd, oni bydd ganddynt weithredoedd i brofi gwirionedd eu ffydd; megis cariad, elusengarwch, &c. Gwel *adn.* 13, 14, 17. Yr oedd yr apostol yn dangos, nad oedd ffydd heb weithredoedd ddim gwell na ffydd y cythreuliaid; *adn.* 19. ac nad oedd hi fel ffydd Abraham; *adn.* 21. yna, yn nodi gweithred hynod oedd yn profi gwirionedd ffydd Abraham, sef aberthu Isaac ei fab. Yr oedd Abraham wedi

ei gyfiawnhau ger bron Duw amser maith cyn geni Isaac, *Gen.* 15. 6. a thu a deng mlynedd ar hugain cyn ei aberthu: felly, y mae yn amlwg, nad oedd Iago yn meddwl am gyfiawnhau Abraham, fel pechadur ger bron Duw; ond ei gyfiawnhau fel un oedd yn proffesu ffydd yn Nuw, a chariad atto, a'i fod yn ei ofni. Dangosodd nad rhagrith oedd ganddo; ond bod ei ffydd, ei gariad, a'i ofn, yn wirioneddol, trwy offrymmu Isaac ei fab ar yr allor. *Gen.* 22. 12. Felly, mae yn amlwg, fod y ddau apostol, Paul a Iago, yn ysgrifennu am bethau gwahanol, ac at bobl wahanol yn eu hegwyddorion a'u hamgylchiadau. Yr oedd Paul yn ysgrifennu at yr eglwysi yn Rhufain a Galatia, y rhai oedd yn cael eu blino gan gau-athrawon, y rhai oedd yn ceisio twyllo y bobl, ac yn trallodi yr eglwysi, trwy haeru, mai trwy weithredoedd y ddeddf yr oedd i ddyn gael ei gyfiawnhau ger bron Duw. Yr oedd yr apostol yn profi yn eglur, nad oedd modd i bechadur gael ei gyfiawnhau trwy weithredoedd; ac mai yr unig ffordd i gyfiawnhau dyn gyda Duw, ydyw, trwy ffydd yng Nghrist, a chyfrifiad o'i gyfiawnder ef. Ond yr oedd Iago yn ysgrifennu mewn perthynas i ddynion oedd yn proffesu yr Efengyl, ac yn ymffrostio o'u ffydd; ac etto heb fod ond gwrandawyr yn unig, yn eu twyllo eu hunain; ac yn ddynion ofer, a'u ffydd yn ddiffrwyth, heb fod yn well na ffydd y cythreuliaid. Yr oedd yr apostol yn dangos, nad gwir ffydd oedd ganddynt; mai eu twyllo eu hunain, a chymmeryd arnynt fod yn grefyddol yr oeddynt; ac na allai y ffydd oeddynt yn broffesu fod ganddynt, ond heb ffrwythau da i brofi ei bod yn wirioneddol, ac i gyfiawnhau eu proffes o honi, eu cadw hwynt. Felly, wrth gyfiawnhau trwy weithredoedd, y meddylir, amlygu, profi, a dangos, trwy weithredoedd sanctaidd a da, ein bod wedi cael ein cyfiawnhau ger bron Duw, a bod ein ffydd a'n proffes yn wirioneddol.

GWRTHDDADL 10. *Oni bydd gweithredoedd da dynion yn cael eu henwi yn y ddedfryd o ryddhad yn y dydd diweddaf?*

*ac oni bydd dynion yn cael eu barnu ar yr un sail ag y cawsant eu cyfiawnhau? felly, trwy weithredoedd y mae cyfiawnhau dyn.*

Atteb. Beth bynnag yw cyfiawnder y pechadur ger bron Duw, ar hwnnw y mae efe yn pwyso am dderbyniad a chymmeradwyaeth gyda Duw. Bydd yn amlwg, wrth yr atteb a rydd y saint i'r Barnwr, yn y dydd diweddaf, nad oeddynt yn pwyso ar eu gweithredoedd da am gymmeradwyaeth. *Mat.* 25. 37—39. Am hynny, bydd yn eglur ddigon, nad trwy weithredoedd y cyfiawnhawyd hwy. *Nid i ni, nid i ni*; ac, *Iddo ef, yr hwn a'n golchodd oddiwrth ein pechodau yn ei waed ei hun, y byddo y gogoniant,* fydd anthem dragywyddol yr holl saint. Trwy drugaredd ein Harglwydd Iesu Grist y cant fywyd tragywyddol. *Judas* 21. 2 *Tim.* 1. 16, 17, 18. Ond dangosir eu gweithredoedd da, i brofi eu hundeb â Christ, a gwirionedd eu ffydd, a'u crefydd yn y hyd; a bydd y gwobr o ras yn hollol.

Ond gadawn y gwrthddadleuon yn erbyn cyfiawnhau pechadur trwy gyfrif cyfiawnder Crist iddo, y maent oll heb achos, ac y maent oll heb sail. Y mae yr holl rai sydd yn perthyn i'r cyfiawnhad, mewn nef a daear, yn foddlon i'r drefn.

1. Ni all y ddeddf gwyno na gwrthddadleu yn erbyn y drefn hon, oblegid cafodd hi y fath fechnïydd dros bechaduriaid o ddynolryw, yr hwn a ufuddhaodd yn berffaith i'w gorchymynion, ac a ddioddefodd yn ewyllysgar ei holl felldithion, ac a wnaeth gyfiawnder i bechaduriaid yn ol ei rheol ac wrth ei bodd; cyfiawnodd, mawrhaodd, a gwnaeth hi yn anrhydeddus. Buasai yn ammhosibl iddi byth gael y fath ufudd-dod ag ufudd-dod Mab Duw; na'r fath ddioddefiadau a dioddefiadau Tywysog y bywyd!

2. Nid yw Duw yn cwyno nag yn dadleu yn erbyn y drefn hon, ac nis gall chwaith, oblegid ei drefn ef ydyw; yn ei anfeidrol gariad a'i ras y trefnodd efe hi, heb neb yn gynghorwr,

na neb i'w gymhell: y mae ei holl briodoliaethau yn cyd-ddisgleirio mewn gogoniant anfeidrol yn y drefn hon. *Ps.* 85. 10. Dangosodd y Tad ei foddlonrwydd i gyfiawnder Crist. *Mat.* 17. 5. Ffordd wrth ei fodd—mawrhau y ddeddf—cospi pechod—cyfiawnhau, achub, a gogoneddu pechaduriaid!

3. Nid oes gan Grist yr un wrthddadl yn ei herbyn, er ei bod yn ddrud iawn iddo ef—cymmeryd *ei wneuthur o wraig, a than y ddeddf*—cymmeryd agwedd gwas—dioddef gwaradwydd, cyfyngderau, ac ing annhraethol; ïe, angau y groes! Etto, efe a gymmerodd y gwaith o'i fodd, ac a aeth trwyddo oll yn ewyllysgar, ac a'i gorphenodd. Adgyfododd yn fuddugoliaethus, wedi gorphen y cyfiawnder; y mae yn eiriol am wisgo ei bobl âg ef; cyflwyna yr holl eglwys i'w Dad yn y cyfiawnder hwn yn llawen y dydd a ddaw, caiff ei foliannu a'i ogoneddu fel *yr Arglwydd ein cyfiawnder* byth.

4. Nid oes gan y pechaduriaid a gyfiawnhawyd yr un wrthddadl yn ei herbyn; ond i'r gwrthwyneb, ni fedrant byth ddiolch digon am y drefn. *Esa.* 45. 25. *Rhuf.* 4. 7, 8. a 5. 1, 2, 11. Cadwodd eu bywyd, cuddiodd eu gwarth, cawsant eistedd yn nhŷ eu Tad i wledda ar y llo pasgedig wedi cael y wisg oreu am danynt! Bellach, dylem sylwi,

VIII. *Mai y rhai sydd yn credu yng Nghrist sydd yn cael eu cyfiawnhau; a pha beth yw natur ffydd, a'i lle, a'i swydd yn y cyfiawnhad.*

Er bod Duw, yn ei gariad anfeidrol a'i ras, wedi trefnu ffordd er tragywyddoldeb i gyfiawnhau pechaduriaid o ddynolryw; a bod Mab Duw yng nghyflawnder yr amser wedi cymmeryd y natur ddynol i undeb â'i berson bendigedig ei hun, wedi dyfod i'n lle, ac wedi ufuddhau a dioddef trosom, wedi rhoi iawn a gwneuthur cyfiawnder perffaith i'r rhai yr oedd efe yn eu lle: er hynny, y maent yn blant digofaint megis eraill,

*Eph.* 2. 3. a ddigofaint Duw yn aros arnynt. *Ioan* 3. 36. Ac nid ydynt yn cael eu cyfiawnhau hyd yr amser y dyger hwy i gredu yng Nghrist. Y mae cyfiawnhau yn cael ei gyssylltu â chredu, yn yr Ysgrythyrau. *A thrwy hwn y cyfiawnheir pob un sydd yn credu. Act.* 13. 39. *Cyfiawnder Duw, trwy ffydd Iesu Grist i bawb, ac ar bawb a gredant. Rhuf.* 3. 22. *Yr ydym yn cyfrif, mai trwy ffydd y cyfiawnheir dyn. Adn.* 28. *A gyfiawnha yr enwaediad wrth ffydd, a'r dienwaediad trwy ffydd. Adn.* 30. *Am hynny o ffydd y mae, fel y byddai yn ol gras. Rhuf.* 4. 16. *Gan ein bod wedi ein cyfiawnhau trwy ffydd. Rhuf.* 5. 1. *Yn gwybod nad ydys yn cyfiawnhau dyn trwy weithredoedd y ddeddf, ond trwy ffydd Iesu Grist. Gal.* 2. 16. Felly, mae yn amlwg nad oes un sail yn y gair dwyfol, i ddywedyd bod yr etholedigion wedi eu cyfiawnhau er tragywyddoldeb: trwy ffydd y mae cyfiawnhau; byddai yn ynfyd sôn am ffydd er tragywyddoldeb. Y mae yn wir fod Duw wedi bwriadu eu cyfiawnhau er tragywyddoldeb, a bod y bwriad yn sier o gael ei gyflawni mewn amser. Bwriadodd Duw greu er tragywyddoldeb; ond byddai yn ymadrodd gwrthun iawn, dywedyd creadigaeth dragywyddol. Bwriadwyd er tragywyddoldeb i Grist gael ei wneuthur yn bechod ac yn felldith trosom; ond byddai yn anweddus iawn dywedyd, ei fod ef wedi cael ei wneuthur yn bechod ac yn felldith er tragywyddoldeb. Nid yw yn addas ychwaith dywedyd fod yr holl eglwys wedi cael ei chyfiawnhau yn adgyfodiad Crist. Y mae yn wir ei fod ef wedi gorphen cyfiawnder i'r holl eglwys yn ei angau ar y groes, a bod y Tad wedi cymmeradwyo y cyfiawnder a wnaeth efe iddi, a'i fod ef fel meichnïydd wedi cael ei gyfiawnhau pan yr adgyfododd Duw ef o feirw. 1 *Tim.* 3. 16. Profwyd ei fod wedi rhoddi iawn dros y pechodau oedd arno, boddloni cyfiawnder, a dwyn cyfiawnder tragywyddol i mewn. Ond wedi hynny llefarir am gyfiawnhau, yn yr amser i ddyfod; *trwy ufudd-dod un y*

gwneir *llawer yn gyfiawn.* Gwnaeth ef y cyfiawnder i'w gyfrif iddynt yn yr amser a'r drefn a osodwyd yn y cyfammod. A dyma y drefn, cyfiawnhau trwy gyfrif ei gyfiawnder ef iddynt, a'i gyfrif i rai yn credu: *Fy ngwas cyfiawn a gyfiawnha lawer trwy ei wybodaeth, Esa.* 53. 11. hynny yw, trwy wybodaeth am dano neu ffydd ynddo.

Y mae llawer o ddadleu wedi bod rhwng dynion dysgedig a da, pa un ai y cyfrifiad o gyfiawnder, ai credu yng Nghrist sydd gyntaf; ac y mae llawer o anhawsderau i benderfynu y naill ffordd na'r llall.

1. Os dywedir fod y dyn yn credu yng Nghrist cyn i Dduw gyfrif cyfiawnder iddo; felly, rhaid dywedyd fod dyn wedi cael ei ail-eni, a'i wneuthur yn gyfrannog o'r duwiol anian, tra yr oedd yn aros o ran ei berson, dan felldith y ddeddf, a than ddigofaint Duw; pa fodd y byddai yn unol â sancteiddrwydd a doethineb Duw, roi ei ddelw sanctaidd, ar berson dan ei ddigofaint? Onid ydys yn dangos yn y dull yma, mai sant sydd yn cael ei gyfiawnhau, ac nid *yr annuwiol? Rhuf.* 4. 5. Pa fodd y gellir dywedyd fod enaid yn gyfrannog o fywyd ysprydol, cyn cael ei uno â Christ? a pha fodd y gellir meddwl fod dyn mewn undeb âg ef, ac etto yn aros dan goll-farn?

2. Os dywedir fod Duw yn cyfrif cyfiawnder Crist i ddyn, cyn iddo gredu yng Nghrist, y mae anhawsderau cymmaint yn ymddangos yr ochr honno drachefn. Pa fodd y gallwn ni feddwl am gyfiawnhau heb ffydd, a'r Ysgrythyr yn sôn cymmaint am gyfiawnhau trwy ffydd? Pa fodd y gellir meddwl fod enaid heb dduwiol anian, wedi ei wisgo â chyfiawnder Crist? Pa mor anghysson ydyw meddwl fod y dyn sydd yn elyn i Grist, ac yn ei wrthod a'i ddirmygu yn ei galon, yn gyfiawn yn ei gyfiawnder ef? Paham y mae yn rhaid dadleu yn yr achos? a phaham rhaid dywedyd fod y naill o flaen y llall? Gan mai rhodd Duw yw ffydd, oni ellir meddwl fod Duw yn cyfrif cyfiawnder, a rhoddi ffydd; yn cyfiawnhau ac

yn ail-eni; yr un pryd? ac onid yw golygu felly, yn fwy esmwyth a chysson? Oni byddai yn swn dieithr i glustiau y Cristion syml, sôn am ddyn wedi ei ail-eni, ond heb ei gyfiawnhau? neu ddyn wedi ei gyfiawnhau, ond heb ei ail-eni? Nid yw y fath ddyn i'w gael.

Gallwn olygu trefn y cyfiawnhad fel y canlyn:—1. Trefnwyd yn yr arfaeth dragywyddol achub i fywyd tragywyddol ryw fyrddiynau aneirif o bechaduriaid. Rhoddwyd hwy i'r Mab, ymrwymodd ef i roddi iawn drostynt, a gwneuthur cyfiawnder iddynt.——2. Yn y cyfammod tragywyddol, lle y gosodwyd Crist i fod yn fechnïydd trostynt, trefnwyd fod pob bendith ysprydol, cyfiawnhad, maddeuant, sancteiddiad, cynnaliad, a gogoneddiad, i gael eu rhoddi trwy Grist i bob un o honynt yn eu hamrywiol genhedlaethau, yn amser Duw ac yn ol trefn y cyfammod.——3. Wrth i Grist gyflawni ammodau y cyfammod, yr oedd yn ennill y bendithion ysprydol hynny iddynt, agor ffordd gyfiawn iddynt fod yn gyfrannog o honynt, maent yn sicr iddynt, y maent yn llaw Duw ffyddlon, hyd yr amser pennodol i'w gyfrannu i bob un; ond y mae gan Grist, yr eiriolwr sydd gyd â'r Tad, hawl i'w ceisio, a chael eu cyfrannu iddynt mewn amser cyfaddas.——4. Pan mae yr amser i gyfrannu y bendithion yn nesâu, mae y pechaduriaid, trwy awdurdod o'r llys uchod, yn cael eu galw at orsedd Duw, trwy argyhoeddiad, deffro eu cydwybodau, &c. y maent yno yn cael eu cyhuddo ger bron cyfiawnder Duw, am droseddu y gyfraith fyrddiynau aneirif o weithiau, am elyniaeth a gwrthryfel atgas yn erbyn Duw: ni allant ffoi, nid oes ganddynt ddim i'w ddywedyd drostynt eu hunain, y maent yn gorfod myned yn fud, dim ond disgwyl y ddedfryd.——5. Ond mae yr eiriolwr yn ymddangos yn y llys uchaf drostynt, yn dadleu ei waed ei hun, iddo eu prynu oddiwrth felldith y ddeddf, fel y delai bendith arnynt; ac yn dadleu am eu rhyddhau ar ei gyfrif ef, a rhoddi y bendithion a fwriadwyd iddynt trwyddo ef.——6. Y mae

dadl yr eiriolwr dros yr euog yn cael ei derbyn yn y llys uchod, dros y pechadur sydd megis o flaen y frawdle yn y llys isod. Y mae gwaith Crist yn dadleu yr hyn a wnaeth, ac a ddioddefodd drostynt, yn cael ei dderbyn; a'r addasrwydd o'i ryddhau ar y cyfrif hyn, a rhoddi y bendithion iddo, yn cael ei gydnabod ar orsedd Duw. Yna y mae megis gorchymyn yn myned allan i ryddhau y rhai euog oddiwrth y felldith a'r goll-farn, a rhoddi meddiant iddynt yn y bendithion. Felly, yn ol trefn y llys uchod y mae cyfrif cyfiawnder a rhoddi ffydd, yn cyd-fyned; cyfiawnhau yr annuwiol, a chyfiawnhau un yn credu yr un pryd; rhoddi Crist, a ffydd i'w dderbyn, yr un pryd; *gyd âg ef bob peth*. *Rhuf.* 8. 32. Er Crist y rhoddir i rai gredu ynddo ef. *Phil.* 1. 29. Trwy gyfiawnder Crist y mae rhai yn cael ffydd; 2 *Petr* 1. 1. a thrwy ffydd y mae derbyn cyfiawnder ffydd. Duw yn tueddu a galluogi yr euog tlawd i gredu yng Nghrist, yr *Arglwydd ein cyfiawnder*, a chyfrif y cyfiawnder hwnnw iddo, a'i gyfrif, neu ei farnu ef yn gyfiawn ynddo yr un pryd! A thyna y pryd y mae dyn yn cael ei gyfiawnhau, sef, pan y mae efe yn cael ei alluogi i gredu yng Nghrist.

Gan fod cymmaint o sôn am ffydd a chyfiawnhau trwy ffydd, yn yr Ysgrythyrau, a bod y rhai sydd heb ffydd, pwy bynnag ydynt, mewn cyflwr truenus iawn, *a digofaint Duw yn aros arnynt; Ioan* 3. 3. a'r rhai sydd yn meddu ffydd, yn gyfiawn ger bron Duw, *a chanddynt fywyd tragywyddol*, dylem ymofyn yn fanwl, beth yw y ffydd hon? a'n *profi ein hunain, a ydym yn y ffydd.* 2 *Cor.* 13. 5. I'r diben hynny, sylwn ar ddau beth,

I. *Beth yw ffydd?*

II. *Beth yw swydd a gwaith ffydd yn y cyfiawnhad?*

I. *Beth yw ffydd?*—Y golygiad naturiol am ffydd, ydyw, mai sicrwydd y meddwl yw, am dystiolaeth person am bethau a fu, neu y sydd, o'r golwg yn bresennol, oddiar olygu fod y-

person hwnnw yn eirwir a ffyddlon. Os bydd y pethau y tystiolaethir am danynt yn perthyn i ni, y mae eu credu yn cael effaith briodol i'w natur ar y meddwl, y mae yn peri teimlad o obaith neu ofn, llawenydd neu boen, yn ol natur y pethau a dystiolaethir. Pe byddai y dystiolaeth am ryw berson o awdurdod a gallu mawr yn ein herbyn, ac yn bygwth yn sicr ddïal arnom, parai credu hynny ddychryn a braw: ond os bydd y dystiolaeth am ryw berson cyfoethog, da, haelionus, a geirwir, yn addaw gwneuthur daioni mawr i ni, y mae credu hynny yn peri gobaith a llawenydd. Felly ffydd ddwyfol, neu y ffydd a ofynir gennym yn yr Ysgrythyrau, sicrwydd yn y meddwl ydyw am wirionedd tystiolaeth Duw yn ei air sanctaidd, am bethau a fu, a phethau ni welir, *sicrwydd y pethau nid ydys yn eu gweled. Heb.* 11. 1. Credu y pethau, neu fod yn sicr a diammheuol am eu gwirionedd, yn yr olwg ar wirionedd a ffyddlondeb Duw. Mae y pethau a ddywedodd efe yn wir, pe bae pawb yn eu hanghredu; *a wna eu hanghrediniaeth hwy ffydd* (neu ffyddlondeb) *Duw yn ofer? Na atto Duw. Bydded Duw yn eirwir, a phob dyn yn gelwyddog. Rhuf.* 3. 3, 4. Hynny yw, pe byddai pob dyn yn gelwyddog; neu, bydded pawb sydd yn ei anghredu, a thrwy hynny yn ceisio ei wneuthur ef yn gelwyddog, 1 *Ioan* 5. 10. bydded iddynt hwy fod yn y celwydd; ac felly y byddant, oblegid bydd Duw yn eirwir byth, *ni all efe fod yn gelwyddog*. Felly, dyna y pryd y mae dynion yn credu gair Duw, pan y maent yn sicr yn eu meddwl am ei wirionedd, yn yr olwg ar fawredd, gwirionedd, a ffyddlondeb y Duw a'i llefarodd. Y mae pethau islaw hyn, yn cael eu galw yn ffydd mewn ystyr ammhriodol. Sonir am *ffydd farw*, yn *Iago* 2. 26. a *ffydd y cythreuliaid, adn.* 19. Dywedodd Paul wrth Agrippa, *Mi a wn dy fod yn credu. Act.* 26. 27. Sonir am rai *yn credu dros amser, Luc* 8. 13. a bod Simon y swynwr yn credu, *Act.* 8. 13.—am ffydd a allai symmudo mynyddoedd, a'i pherchen heb fod yn ddim, 1 *Cor.*

13. 2. Ond nid oedd y rhai hynny yn credu y gwirionedd yn yr olwg ar fawredd a geirwirdeb Duw; oddi eithr fod y cythreuliaid yn golygu hynny—y mae ffydd y cythreuliaid yn well na ffydd llawer o ddynion; y maent hwy *yn credu ac yn crynu*, ond nid ydynt hwythau yn caru nac yn parchu yr hyn y maent yn orfod gredu. Y mae llawer etto yn proffesu eu bod yn credu, nad ydynt erioed wedi credu gwirionedd Duw, oblegid mai gwirionedd Duw ydyw: nid ydynt erioed wedi credu yn yr olwg ar fawredd, geirwirdeb, a ffyddlondeb Duw: ond rhyw seiliau gweiniaid eraill sydd i'r peth sydd ganddynt yn myned dan yr enw ffydd; naill ai tyb y lliaws, neu farn a thraddodiad eu henafiaid; neu farn y pregethwyr y maent hwy yn eu parchu yn fwyaf; neu resymoldeb y pethau, neu ryw ddychymmygion a theimladau ynddynt eu hunain, a Duw o'r golwg, dan yr holl broffes eu bod yn credu Duw.

Ond i ddychwelyd, i sylwi yn fanylach am ffydd. Ffydd ydyw crediniaeth sicr am wirionedd y pethau y mae Duw yn eu tystiolaethu yn ei air, gan olygu mawredd, gwirionedd, a ffyddlondeb Duw, fel sail ddiysgog i gredu y pethau; ac y mae effeithiau priodol i natur y pethau a gredir ar yr enaid a'r ymddygiad. Y peth yw gredu, ydyw, tystiolaeth Duw, 1 *Ioan* 5. 10. naill ai yn ysgrifenedig yn y gair, *Ioan* 20. 31. *a ysgrifenwyd fel y credoch*, neu yng ngenau ei genhadau, 2 *Thes*. 1. 10. *ein tystiolaeth ni gael ei chredu*, *Marc* 1. 15. *credu yr Efengyl*, 1 *Thes*. 2. 13. derbyn y gair, *nid fel gair dyn, eithr yn air Duw*. Y pethau sydd yn dystiolaeth ddwyfol i ni i'w credu, ydyw, pethau a fu, pethau a fydd, a phethau sydd yn bresennol, ond eu bod yn anweledig i ni.

1. Dylem gredu holl air Duw; ei hanesiaeth, ei athrawiaeth, ei orchymynion, ei addewidion, a'i fygythion; y maent yn y y gair yn cael eu gosod o flaen yr enaid, fel gwirionedd y Duw ffyddlon, na all fod yn gelwyddog. *Preg*. 2. 10. 1 *Tim*. 1. 15. Y mae perchennog gwir ffydd yn credu yr holl air.

2. Sylwn yn neillduol am gredu yr Efengyl, gan mai hynny sydd dan ein sylw yn bennaf, ymhelaethwn fwy ar hyn. Y mae rhyw beth neillduol yn y credu yma, yn fwy na chydsyniad oer, di-effaith, bod hanes cnawdoliaeth, genedigaeth, bywyd, angau, ac adgyfodiad &c. Iesu Grist, yn wir. Mae y Duw grasol yn gosod pethau allan yn yr Efengyl, nid yn unig fel gwirioneddau i'w deall, cydsynio â hwy, bod yn sicr eu bod hwy yn bod, a'u rhyfeddu; ond y mae hefyd bethau gwerthfawr, grasol, a gogoneddus, yn cael eu dal allan yn yr Efengyl i ddynion syrthiedig, euog, i'w cymmeradwyo, eu derbyn, a'u meddiannu, wrth gredu yr Efengyl. Y mae yr enaid yn gweithredu yn gyfattebol i hynny; y mae nid yn unig yn cydsynio yn gadarn, fod pethau yn bod fel y mae Duw yn tystiolaethu am danynt, ond hefyd yn gweled gogoniant annhraethol ynddynt, eu cymmeradwyo, eu barnu, a'u derbyn. Mae y credu yma yn cael ei osod allan yn yr Ysgrythyrau mewn amrywiol ymadroddion, ac mewn amrywiol ddull, a thrwy amryw gyffelybiaethau.—1. Mae y credu yma yn cynnwys gwybodaeth am y pethau a gredir, er eu bod yn *bethau ni welir;* nid oes credu heb wybod. Y mae ffydd yn cael ei galw gwybodaeth, yn *Esa.* 53. 11. *Yr hwn sydd yn credu, sydd ganddo fywyd tragywyddol. Ioan* 3. 36. *A hyn yw y bywyd tragywyddol, iddynt dy adnabod di. Ioan* 17. 3. *Tangnefedd—trwy adnabod Duw, a Iesu ein Harglwydd ni.* 2 *Petr* 1. 2.——2. Credu tystiolaeth Duw am ei raslonrwydd, a'i fwriadau i achub pechaduriaid trwy Iesu Grist. *Y mae gydu thi faddeuant. Ps.* 130. 4. *Credu ei fod ef, a'i fod yn wobrwywr i'r rhai sydd yn ei geisio ef. Heb.* 11. 6. *Credu y dystiolaeth—a hon yw y dystiolaeth; roddi o Dduw i ni fywyd tragywyddol.* 1 *Ioan* 5. 10, 11.——3. Credu y dystiolaeth am Grist: *credu mai Iesu yw y Crist.* 1 *Ioan* 5. 1,—4.—mai efe yw y Messïah a addawyd, *Ioan* 8. 24.—*credu mai y Tad a'i hanfonodd, Ioan* 17. 8.—credu diben ei

ddyfodiad i'r byd, 1 *Tim.* 1. 15.—credu y dystiolaeth am y pethau a wnaeth ac a ddioddefodd efe yn y byd—credu iddo ddyfod *yng nghyflawnder yr amser*, yn ol yr arfaeth a'r cyfammod tragywyddol yn ol ewyllys y Tad; a'i fod wedi *cwblhau y gwaith* a roddwyd iddo i'w wneuthur, *Ioan* 17. 4.—credu y cyhoeddiad o hono yn waredwr cyflawn, parod, i'r pechaduriaid mwyaf; *ac, na chollir pwy bynnag a gredo ynddo ef*, *Ioan* 3. 15, 16.—credu am Grist yn ei holl swyddau, mor addas ydyw i'n holl angheu; pob cyflawnder ynddo. Y mae mewn credu, *weled ei ogoniant ef, gogoniant megis yr unig-anedig oddiwrth y Tad.* *Ioan* 1. 14. Mae y pethau am Grist, o natur mor oruchel, na buasai modd eu gwybod na'u credu. heb dystiolaeth y Duw na all fod yn gelwyddog yn sylfaen: ond dyma sylfaen gadarn. Mae y dystiolaeth oruchel hon yn deilwng o gael ei chredu, nid yn unig ar gyfrif ei chadernid, ond hefyd ar gyfrif y pethau gwerthfawr sydd ynddi i ni yn rhad; cyfiawnder i'r euog, heddwch i elynion, meddyg i'r cleifion, cyfoeth i'r tlodion, gwledd i'r newynog; *pob peth yn barod!*——4. Mae y rhai sydd yn credu, yn credu gallu Crist i'w hachub, ac yn barod i ddywedyd fel y gwahanglwyfus gynt, *os mynni, ti a elli fy nglanhau i.* *Mat.* 8. 2. Ac fel y wraig hono; *os câf yn unig gyffwrdd—iach a fyddaf.* *Mat.* 9. 21.——5. Y mae mewn credu yng Nghrist, ei gymmeradwyo yn ei berson a'i swyddau, ei weled ef yn *rhagori ar ddeng mil*—ac, *oll yn hawddgar*, *Can.* 5. 10, 16. —pob peth yn dom mewn cymhariaeth iddo, *Phil.* 3. 8.—*dyfod atto ef.* *Ioan* 6. 37, 44.——6. Y mae credu yng Nghrist yn cael ei alw, derbyn Crist; *cynnifer ag a'i derbyniasant ef*, *Ioan* 1. 12.—*megis y derbyniasoch Grist Iesu yr Arglwydd.* *Col.* 2. 6. Ei dderbyn ef trwy gredu y gair; *y mae y gair yn agos attat—hwn yw gair y ffydd.* *Rhuf.* 10. 6—10. Credu yr Efengyl yw ei derbyn; y mae hi *yn haeddu pob derbyniad*, 1 *Tim.* 1. 15. ac wrth ei derbyn hi, derbynir

**Crist; Efengyl Crist yw hi; efe y mae hi yn ei gyhoeddi.** Ufuddhau i'r Efengyl yw credu yng Nghrist. *Rhuf.* 10. 16. *Nid ufuddhasant—pwy a gredodd?—derbyn y gair yn ewyllysgar.* *Act.* 2. 41. Wrth dderbyn Crist y mae *derbyn y cymmod.* *Rhuf.* 5. 11. *Derbyn pawb a gredo ynddo ef faddeuant pechodau.* *Act.* 10. 43.——7. Y mae mewn credu roi ein hunain a'n hachos i fynu i Grist. *Mi a wn i bwy y credais. Y mae efe yn abl i gadw yr hyn a roddais atto, erbyn y dydd hwnnw.* 2 *Tim.* 1. 12. Y mae yr hwn sydd yn credu, yn rhoddi ei achos o'i law ei hun i Grist: y mae wedi methu ei gadw ei hun, y mae yn ei roddi ei hun i Grist i'w gadw. Ceidwad ffyddlon yw efe.——8. Y mae yn natur credu yng Nghrist, ymddiried ynddo, a phwyso arno. Golwg ar gredu ynddo oedd gan y prophwyd, pan y dywedodd, *Ymddiriedwch yn yr Arglwydd byth.* *Esa.* 26. 3. *Pwy yw hon sydd yn dyfod i fynu o'r anialwch, gan bwyso ar ei hanwylyd?* *Can.* 8. 5. Y mae y rhai sydd yn credu, yn pwyso ar Grist am bob peth, am *gyfiawnder a nerth.* *Esa.* 45. 24. Y maent hefyd yn disgwyl wrtho, ac yn gobeithio ynddo, am iddo fod iddynt, ym mhob amgylchiad, y pethau y tystiolaethwyd ei fod ef i'w bobl. *Disgwylied Israel am yr Arglwydd. Efe a wared Israel oddiwrth eu holl anwireddau.* *Ps.* 130. 7, 8. *Ynddo ef y gobeithia y cenhedloedd.* *Rhuf.* 15. 12, 13.

Y mae ffydd yng Nghrist yn cael ei gosod allan yn y gair, trwy amryw gyffelybiaethau; megis, *edrych arno,* fel Israel yn edrych ar y sarph brês, *Num.* 21. 8, 9. *Esa.* 45. 22. *Heb.* 12. 2.—*ffoi atto,* fel y llofrudd i'r ddinas noddfa, *Diar.* 18. 10. *Heb.* 6. 18.—*estyn dwylaw atto,* *Ps.* 68. 3.—*ymaflyd ynddo,* *Esa.* 27. 5.—*ei dderbyn,* *Ioan* 1. 12.—*pwyso arno,* 2 *Cron.* 14. 11.—*bwrw ein baich arno,* *Ps.* 55. 22.—*bwytta ei gnawd, yfed ei waed,* *Ioan* 6. 56, 57. *Esa.* 55. 1. —*ei wisgo am danom,* *Rhuf.* 13. 14. *Luc* 15. 22. *Esa.* 61. 10.

Nid gwaith rhyw *un gynneddf* yn yr enaid yw credu, ond gwaith yr holl enaid. *A'r galon y credir i gyfiawnder. Rhuf.* 10. 10. *Os wyt ti yn credu â'th holl galon. Act.* 8. 37. Mae y *deall* yn gweled ei degwch a'i ogoniant; yr *ewyllys* yn ei ddymuno ac yn ei dderbyn; y *serch* yn ei garu ac yn ymddifyrru ynddo; y *gydwybod* yn ei farnu yn Waredwr digonol ac addas, ac yn ymlonyddu ynddo; y *côf* yn dal gafael yn y tystiolaethau am dano, er gwasanaeth yr holl gynneddfau eraill. Credu â'r holl galon.

Y mae ffydd wirioneddol, y ffydd y mae cyfiawnhau a bod yn gadwedig yn ei chanlyn, yn cofleidio yn serchiadol y datguddiad dwyfol o drefn Duw yn cadw pechaduriaid: felly yr oedd y rhai a fu farw mewn ffydd, *credu a chyfarch*, neu gredu a chofleidio yr oeddynt. *Heb.* 11. 13. Y mae yr enaid, trwy ffydd, yn cymmeradwyo, yn derbyn, ac yn cofleidio Crist, yn ei berson a'i holl swyddau, yn bob peth ag y mae efe yn cael ei osod allan yn y dystiolaeth ddwyfol i'r pechaduriaid a gredant ynddo: Ac ar ol ei dderbyn, y mae yr enaid, trwy ffydd, yn parhau i'w gofleidio a'i ddefnyddio; a thrwy ffydd ynddo y mae efe yn byw. *Y cyfiawn a fydd byw trwy ffydd. Heb.* 10. 38. *Byw trwy ffydd Mab Duw. Gal.* 2. 20. Er bod yn ddyledswydd (fel y profwyd o'r blaen) ar bob dyn gredu Duw, ac ar bob dyn sydd yn clywed yr Efengyl, ei chredu; a bod credu tystiolaeth eglur Duw y gwirionedd yn ymddangos yn beth hawdd a rhesymol; etto, nid yw dynion yn credu wrth natur. *Nid oes ffydd gan bawb.* 2 *Thes.* 3. 2. Ië, anaml yw y rhai sydd yn credu; *pwy a gredodd? Esa.* 53. 1. Y mae meddyliau dynion wedi eu dallu, fel nad ydynt yn gweled gogoniant na chadernid tystiolaeth Duw: *Dallwyd eu meddyliau,* 2 *Cor.* 3. 14.—*wedi tywyllu eu deall, Eph.* 4. 18.—*duw y byd hwn yn dallu eu meddyliau,* 2 *Cor.* 4. 4.—*y diafol yn cymmeryd y gair o'u calon, rhag iddynt gredu, Luc* 8. 12, 13, 14. Y maent yn elynion Duw; am hynny, ni

fynnant ei gredu. *Rhuf.* 8. 7. Gwell ganddynt roddi coel i athrawiaethau cythreuliaid. 1 *Tim.* 4. 4. Hefyd, y mae gelyniaeth rhyngddynt a'r gwirionedd, fel gwirionedd Duw, ac ni fynnant ei gredu. *Am fy mod i yn dywedyd gwirionedd, nid ydych yn credu i mi.* *Ioan* 8. 45. *Dyn anianol nid yw yn derbyn y pethau sydd o Yspryd Duw, ffolineb ydynt ganddo ef.* 1 *Cor.* 2. 4. Gwell ganddynt gredu celwydd. 2 *Thes.* 2. 11. Oblegid *caru o honynt y tywyllwch yn fwy na'r goleuni.* *Ioan* 3. 19.

Gwaith Duw, yn ei gariad anfeidrol a'i ras, ydyw dwyn dynion i gredu; o'r un cariad y mae efe yn rhoddi ffydd ag y rhoddodd efe Grist. Y rhai y rhoddodd Duw ei Fab i fyw a marw yn eu lle, fel na choller hwy, *Ioan* 3. 16. y mae yn rhoddi ffydd iddynt i gredu fel y byddont gadwedig. *A chynnifer ag oedd wedi eu hordeinio i fywyd tragywyddol, a gredasant.* *Act.* 13. 48. *Rhodd Duw ydyw.* *Eph.* 2. 8. *Trwy ffydd gweithrediad Duw.* *Col.* 2. 12. *Nid cig a gwaed a ddatguddiodd hyn i ti, ond fy Nhad yr hwn sydd yn y nefoedd.* *Mat.* 16. 16, 17. Y mae hi yn cael ei rhoddi er Crist. *Phil.* 1. 29.

Y moddion i roddi ffydd trwyddynt, yw gair Duw, a gweinidogaeth yr Efengyl. *A ysgrifenwyd fel y credoch.* *Ioan* 20. 31. *Ffydd sydd trwy glywed, a chlywed trwy air Duw.* *Rhuf.* 10. 17. *A gredant ynof fi, trwy eu hymadrodd hwynt.* *Ioan* 17. 20. *Eithr llawer o'r rhai a glywsant y gair, a gredasant.* *Act.* 4. 4. 1 *Cor.* 1. 21.

Ond er mai y gair ydyw y moddion, yr Yspryd Glân yw y gweithydd sydd yn dwyn dynion i gredu. *I arall ffydd, trwy yr un Yspryd.* 1 *Cor.* 12. 8, 9. *Ffrwyth yr Yspryd yw ffydd.* *Gal.* 5. 22. Arferwn y moddion, a disgwyliwn wrth y gweithydd.

II. Sylwn, *Beth yw swydd a gwaith ffydd yn y cyfiawnhad.* —Lle y mae ffydd, y mae cariad, gobaith, a phob gras;

oblegid un egwyddor ysprydol ydyw pob gras yn yr enaid. *Duwiol anian.* 2 *Petr* 1. 4. Y mae gweithrediadau y duwiol anian yn amrywiol at amrywiol wrthddrychau, neu at yr un gwrthddrych mewn gwahanol olygiadau. Yr anian yma sydd yn gweithredu yn enaid y dyn sydd yn gyfrannog o honi, yn ffydd, cariad, gobaith, ofn, &c. tu ag at Dduw; a'r un anian sydd yn gweithredu yn gasineb at, yn edifeirwch am, bechod, &c. felly, amrywiol weithrediadau yr un anian a elwir yn amrywiol rasau; fel yr ydym yn galw yr amrywiol alluoedd sydd yn yspryd dyn yn amrywiol gynneddfau yr enaid. Felly, gwelwn, fod pob gras lle y mae gwir ffydd; ond nid oes swydd neillduol yng nghyfiawnhad pechadur gan yr un o honynt, ond gan ffydd yn unig. Hefyd, y mae gan ffydd law mewn llawer o bethau heblaw yn y cyfiawnhad; megis *puro y galon, Act.* 15. 9. *gorchfygu y byd,* 1 *Ioan* 5. 4. *diffoddi holl bicellau tanllyd y fall, Eph.* 6. 16. Ond ni chawn yn bresennol ond sôn ychydig am ei lle a'i swydd yng nghyfiawnhad pechadur ger bron Duw. I'r diben i ddangos hynny yn eglurach, ni a sylwn ar y pethau a ganlyn; sef,

I. *Fod gan ffydd ryw le neillduol yng nghyfiawnhad pechadur.*

II. *Mai deiliad ffydd gyfiawnhaol, ydyw pechadur euog tlawd, o flaen gorseddfaingc y Barnwr.*

III. *Mai ei gwrthddrych yw Crist, fel Gwaredwr, yn neillduol fel Offeiriad, wedi ei drefnu a'i osod gan Dduw, yn ei gariad a'i ras, a'i gyhoeddi i bechaduriaid yn yr Efengyl.*

IV. *Beth yw gweithrediadau neillduol ffydd yn y cyfiawnhad.*

I. *Y mae gan ffydd ryw le neillduol yng nghyfiawnhad pechadur.*—Mae y dull y mae yr Ysgrythyrau yn gosod cyfiawnhad allan yn profi hyn; megis, *Trwy hwn y cyfiawnheir pob un sydd yn credu, Act.* 13. 39.—*cyfiawnder Duw sydd trwy ffydd Iesu Grist i bawb, ac ar bawb a gredant, Rhuf.*

3. 22.—*cyfiawnhau y neb sydd o ffydd Iesu*, *adn.* 26.—*yr ydym ni, gan hynny, yn cyfrif, mai trwy ffydd y cyfiawnheir dyn, adn.* 28.—*wedi ein cyfiawnhau trwy ffydd, Rhuf.* 5. 1. —*fel y'n cyfiawnheir trwy ffydd Crist, Gal.* 2. 16.

Profwyd o'r blaen, na all ffydd fod yn gyfiawnder i bechadur, oblegid nid yw yn berffaith yn neb; a phe tybid ei bod hi yn berffaith, ni byddai hi wedi hynny ond un peth o lawer y mae y ddeddf yn ei ofyn i ddyn; am hynny, ni all fod yn gyfiawnder iddo. Ni ellir meddwl, ychwaith, ei bod yn pwrcasu, yn haeddu, nac yn ennill cyfiawnder na chyfiawnhad i ddyn; oblegid *cyfiawnhau yn rhad, trwy ei ras*, y mae Duw. *Rhuf.* 3. 24. Ac y mae Duw wedi trefnu cyfiawnhad pechadur i fod trwy *ffydd, fel y byddai yn ol gras; Rhuf.* 4. 16. ac fel y cauid ymffrost allan oddiwrth ddyn, *trwy y ddeddf. Rhuf.* 3. 27. Etto, nid oes cyfiawnhau heb ffydd. Y mae coll-farn a digofaint Duw yn aros ar bawb nad ydynt yn credu yng Nghrist. *Ioan* 3. 18, 36. Y mae cyfiawnhau wedi ei gysylltu â ffydd, ac nid âg un gras arall: er fod pob gras lle y mae ffydd, etto, ni sonir am gyfiawnhau trwy yr un gras arall, ond yn unig trwy ffydd. Y mae addasrwydd mewn ffydd i gael lle yn y cyfiawnhad nad yw yn un gras arall. Gan mai o ras Duw, a thrwy gyfiawnder Crist, y mae cyfiawnhau pechadur, nid oes un gras a all fod mewn swydd yn y cyfiawnhad, ond ffydd yn unig. Trwy ffydd y mae *dyfod at Dduw, Heb.* 11. 6. i geisio y pethau a drefnodd efe i bechadur tlawd.—Trwy ffydd y mae gweled fod maddeuant gyda Duw, *Ps.* 130. 4. a bod Duw, yng Nghrist, yn cymmodi pechaduriaid âg ef ei hun. 2 *Cor.* 5. 19, 20.—Trwy ffydd y mae gweled, fod Duw wedi gosod Crist yn iawn; *Rhuf.* 3. 25. ac, mai ynddo y mae cyfiawnder i'r pechadur a gredo ynddo. *Esa.* 45. 24. *Rhuf.* 3. 22. Yn yr Efengyl yn unig y datguddir y cyfiawnder, ac i ffydd y datguddir ef. *Rhuf.* 1. 17. Ni wel neb y cyfiawnder hwn heb ffydd.——Y mae cyssylltiad sicr

rhwng ffydd yng Nghrist a chyfiawnhad: y maent wedi eu cyssylltu gan Dduw, yn ei gynghor tragywyddol, fel na all neb ar y ddaear, na'r diafol ychwaith, ddyrysu y drefn, *fel na choller pwy bynnag a gredo.* *Ioan* 3. 16. Seliwyd y cyssylltiad â gwaed Crist; cyhoeddwyd y cyssylltiad yn yr Efengyl; a phrofwyd y cyssylltiad hwn gan y saint, ym mhob oes. Nid oes bod yn gyfiawn ger bron Duw, heb ffydd. Mae y rhai mwyaf eu gwybodaeth, a mwyaf eu rhinwedd, os heb gredu yn Mab Duw, yn aros dan goll-farn; a phawb sydd yn credu ynddo, yn gyfiawn ger bron Duw. *Nid oes dim damnedigaeth i'r rhai sydd yng Nghrist Iesu.* *Rhuf.* 8. 1. *Ni chollir pwy bynnag a gredo ynddo ef.* *Yr hwn* (ebe Crist) *sydd yn credu i'r hwn a'm hanfonodd, a gaiff fywyd tragywyddol, ac ni ddaw i farn.* *Ioan* 5. 24.——*Sylw,* Ni ddylai neb ymddyrysu ynghylch arfaeth Duw, ac ymholi, A ydyw Duw wedi arfaethu ei gyfiawnhau? ond, yn hytrach, bydded iddo ei holi ei hunan, *A ydyw yn y ffydd?* oblegid ni chollir neb a gredo yng Nghrist; ac ni chedwir neb heb gredu ynddo.

II. *Deiliad ffydd gyfiawnhaol, ydyw pechadur euog tlawd, o flaen gorseddfaingc y Barnwr.*—Nid oes neb yn cael ei gyfiawnhau trwy ffydd, cyn cael *ei argyhoeddi* o bechod; ac nid yw y ffydd y mae cyfiawnhad yn gyssylltedig â hi, yn cael ei rhoddi i neb ond i'r pechadur argyhoeddedig. Nid oes neb arall yn gweled gwerth cyfiawnder Crist, nac yn ymostwng iddo. *Rhuf.* 10. 3. Gwell gan y pechadur balch fod yn golledig yn ei gyfiawnder ei hun, na chael ei gadw yng nghyfiawnder Crist. Nid oes ond *tra rhagorol fawredd nerth Duw* (*Eph.* 1. 19.) a blyga y pechadur i dderbyn cyfiawnder Crist. Y mae Duw yn parottoi y pechadur i dderbyn ffydd gyfiawnhaol, cyn ei rhoddi iddo. Mae y ddeddf foesol yn cael ei defnyddio, gan yr Yspryd Glân, i ddangos i'r pechadur ei gyflwr truenus a cholledig; ac yna, *y mae efe, trwy y ddeddf, yn marw i'r ddeddf.* *Gal.* 2. 19. *Pan ddaeth y gorchymyn*

(ebe Paul) *yr adfywiodd pechod, a minnau a fûm farw. A'r gorchymyn, yr hwn ydoedd i fywyd, hwnnw a gaed i mi i farwolaeth.* *Rhuf.* 7. 9, 10. Y mae yr Yspryd Glân yn dangos i'r pechadur, ysprydolrwydd y ddeddf, ac yn deffro ei gydwybod i dystio ei golledigaeth yn ei wyneb, nes y mae y gau obaith oedd ganddo am gael bywyd trwyddi, yn colli y dydd, ac yn marw. Y mae Duw yn anfon cennadwri, mewn awdurdod, i alw y pechaduriaid, y rhai y mae efe yn meddwl eu cyfiawnhau, i sefyll o flaen ei orsedd, yn nydd gras; ac, er iddo oddef i rai o honynt wingo, ac ymryson yn ei erbyn dros amser maith, o'r diwedd, yn ei amser ei hun, efe a enfyn ddigon o awdurdod a nerth, ac a'u gorchfyga hwy; gwna iddynt sefyll o flaen ei faingc, ac ni oddef iddynt ddiangc, fel *Ffelix* ac eraill, ond bydd yn rhaid iddynt wrando taranau y gyfraith, a chyhuddiadau cydwybod, fel y byddo eu geneuau yn cael eu cau, heb air i ddywedyd drostynt eu hunain, ond bod yn fûd dan farn Duw. *Rhuf.* 3. 19. Yn yr amgylchiad hwnnw, bydd y gair, *Melldigedig yw pob un nad yw yn aros yn yr holl bethau,* &c. *Gal.* 3. 10. yn swnio yn fwy ofnadwy yn eu meddyliau, na miloedd o daranau. Rhaid gwaeddi allan, Euog, euog, yn eu herbyn eu hunain, heb un ffordd o ymwared yn y golwg; disgwyl dedfryd angau o enau y Barnwr; ond ni allant lai na gwaeddi allan, fel y rhai gynt pan y dwys-bigwyd hwy yn eu calon, *Beth a wnawn ni? Act.* 2. 37. neu, fel ceidwad y carchar, *Beth a wnaf fel y byddwyf cadwedig? Act.* 16. 30, 31. Y maent, fel Adda gynt, wedi cael agor eu llygaid i weled eu noethder, a'u gwarth, ond ni wyddant am ddim i'w cuddio. Nid oes yn yr amgylchiad yma, na dail ffigys, na phrenau yr ardd, a wna y tro; y mae Duw yn galw, ni ellir ymguddio. Nid yw y pechaduriaid euog yn deall, mai yn ei drugaredd yr anfonodd Duw i'w dal a'u dwyn i'r frawdle; y maent hwy yn ofni mai cospi yn ol haeddiant eu pechodau fydd y canlyniad. Ond y mae gan Dduw feddyliau o heddwch,

ac nid niwed, tu ag attynt: ac y mae dadleuwr yn y llys uchod yn ymddangos drostynt, ac yn eiriol gyd â'r Tad, dadleu yr iawn a roddodd drostynt, a'i fod wedi gwneuthur cyfiawnder perffaith iddynt. Bydd y Tad yn berffaith foddlon i gyfrif y cyfiawnder hwnnw iddynt. Anfonir rhyw gennad i ddywedyd wrthynt, yn eu trallod, ar ddarfod am danynt, a'u gobaith wedi colli o'u rhan hwy, *Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig a fyddi.* *Act.* 16. 31. Anfonir yr Yspryd, *i argyhoeddi o gyfiawnder.* *Ioan* 16. 10. Dengys iddynt addasrwydd, digonolrwydd, a pharodrwydd Crist i waredu eu bath hwy; ei fod wedi *dwyn cyfiawnder tragywyddol i mewn;* *Dan.* 9. 24. ac mai *trwyddo ef y cyfiawnheir pob un sydd yn credu;* *Act.* 13. 39. a rhoddir ffydd iddynt trwy glywed, fel y gwelont ogoniant Crist, fel ceidwad y colledig, ac y byddo eu heneidiau yn gwaeddi allan, *Caffer ni ynddo ef.*

III. *Gwrthddrych ffydd gyfiawnhaol, ydyw Crist, fel Gwaredwr; ond yn neillduol fel offeiriad, wedi ei drefnu a'i osod gan Dduw yn ei gariad a'i ras, a'i gyhoeddi i bechaduriaid yn yr Efengyl.*—Er bod ffydd yn credu holl air Duw, yn yr olwg ar fawredd, gwirionedd, a ffyddlondeb y Duw a'i llefarodd; etto, yn ei swydd yn y cyfiawnhad, ar Grist yn unig y mae ei llygaid, fel yr ordeiniwyd ef gan Dduw yn ei anfeidrol ras, yn geidwad i bechaduriaid colledig o ddynolryw. Hefyd, er fod ffydd yn credu y dystiolaeth ddwyfol am Grist, yn ei berson a'i holl swyddau, ac yn ei gymmeradwyo a'i dderbyn yn ei berson a'i holl swyddau, ni fyn ffydd rannu Crist; etto, yn y cyfiawnhad, y mae golwg ffydd yn neillduol ar Grist yn ei swydd offeiriadol, fel mechnïydd, fel *yr Arglwydd ein cyfiawnder.* *Jer.* 23. 6. *Esa.* 45. 24. Y mae golwg ffydd gyfiawnhaol ar raslonrwydd Duw, a'i gariad a'i drugaredd anfeidrol at bechaduriaid o ddynolryw. *Jehofah, Duw trugarog a graslawn—gan faddeu.* *Exod.* 34. 6, 7. Iaith ffydd wrth Dduw yw, *y mae gyda thi faddeuant fel y'th*

*ofner. Ps.* 130. 4. Ond nid yw ffydd yn gweled cariad, gras, a pharodrwydd Duw i faddeu, ond yng Nghrist; *yr unig-anedig Fab, yr hwn sydd yn mynwes y Tad, hwnnw a'i hyspysodd ef. Ioan* 1. 18. *Delw y Duw anweledig. Col.* 1. 15. *Yn hyn yr eglurwyd cariad Duw tu ag attom ni, oblegid danfon o Dduw ei unig-anedig Fab i'r byd, fel y byddem byw trwyddo ef.* 1 *Ioan* 4. 9. Nid yw ffydd yn gweled Crist ond yn yr Efengyl, *tystiolaeth Duw am ei Fab.* 1 *Ioan* 5. 9. *Dyg fywyd ac anllygredigaeth i oleuni trwy yr Efengyl.* 2 *Tim.* 1. 10. Felly, gwelwn, mai credu yr Efengyl yw y credu y mae cyfiawnhau trwyddo; ac yn yr Efengyl y mae ffydd yn gweled Crist yn waredwr addas i bechadur; ac yng Nghrist y mae hi yn gweled cariad a gras Duw, a'i barodrwydd i faddeu. Felly, gwelwn,

1. Mai Crist yw gwrthddrych y ffydd y mae cyfiawnhau trwyddi; *credu yn ei enw, Ioan* 1. 12.—*credu ynddo ef, Ioan* 3. 16, 36. a 6. 47. *Act.* 10. 43.—*credu yn yr Arglwydd Iesu Grist, Act.* 16. 31.—*y ffydd sydd ynddo ef. Act.* 26. 18.

2. Mai Crist, fel yr ordeiniwyd ef gan y Tad yn gyfryngwr, mechnïydd, a gwaredwr, yw gwrthddrych ffydd. Y mae golwg neillduol ffydd ar ei ordeiniad a'i anfoniad gan y Tad; *hwn a osododd Duw yn iawn, trwy ffydd yn ei waed ef. Rhuf.* 3. 25, 26. *Credu i'r hwn a'm hanfonodd i* (ebe Crist.) *Ioan* 5. 24. *Trwyddo ef yn credu yn Nuw, yr hwn a'i cyfododd ef oddiwrth y meirw, ac a roddodd iddo ogoniant, fel y byddai eich ffydd chwi a'ch gobaith yn Nuw.* 1 *Petr* 1. 21. Mae golygu ei ordeiniad i fod yn waredwr, yn sail a chalondid i'w dderbyn, i'r pethau yr ordeiniwyd ef; *hwn a seliodd Duw Dad. Ioan* 6. 27.

3. Mae y cyhoeddiad o Grist yn yr Efengyl a'r addewid, neu y cyhoeddiad o fywyd i'r rhai a gredant ynddo, yn cael eu golygu mewn modd neillduol gan y ffydd hon. Credu y cy-

hoeddiad o Grist fel tystiolaeth y Duw na all fod yn gelwyddog, a derbyn yr addewid o fywyd ynddo ef i'r rhai a gredant ynddo. Amnau yr addewid y mae dyn trwy anghrediniaeth, a chredu yr addewid trwy ffydd; *nid ammheuodd efe trwy anghrediniaeth; eithr efe a nerthwyd yn y ffydd.* *Rhuf.* 4. 20. *Ac yn gwbl sicr ganddo am yr hyn a addawsai efe, ei fod yn abl i'w wneuthur hefyd.* *Adn.* 21. Wrth i Petr gyfarwyddo y rhai a ddwys-bigwyd, ac atteb i'w gofyniad difrifol, *beth a wnawn ni?* troes eu golwg at yr addewid; *i chwi y mae yr addewid.* *Act.* 2. 38, 39. Ar yr addewid y mae llygaid ffydd; pe byddai modd gwneuthur yr addewid yn ddirym, byddai ffydd yn ofer; ond mae yr addewid yn sicr i'r holl hâd; am hynny, o ffydd yn ol gras y mae yr etifeddiaeth, sef bywyd tragywyddol. *Rhuf.* 4. 14, 16. Anghredu yr addewid a wnaeth y deg yspïwyr, a'r rhan fwyaf o Israel; ac ni allent fyned i mewn i'r orphwysfa, o herwydd anghrediniaeth. *Heb.* 3. 17,—19. *Ofnwn gan hynny, gan fod addewid wedi ei adael i ni—rhag bod neb o honoch yn debyg i fod yn ol.* *Heb.* 4. 1. Y mae yn natur y ffydd yr ydym yn sôn am dani, gredu mor ddiysgog fod cyfiawnhad a bywyd tragywyddol i'r rhai a gredant yng Nghrist, a bod Crist wedi dyfod i'r byd i gadw pechaduriaid. Yr un dystiolaeth ddwyfol yw sail y naill a'r llall: *A hon yw y dystiolaeth, roddi o Dduw i ni fywyd tragywyddol; a'r bywyd hwn sydd yn ei Fab ef. Yr hwn y mae y Mab ganddo, mae y bywyd ganddo.* 1 *Ioan* 5. 11, 12.

4. Y mae diben Crist yn dyfod i'r byd, ac yn gwneuthur yr hyn oll a wnaeth, a dioddef y pethau a ddioddefodd, yn cael ei olygu gan yr enaid sydd yn gwir gredu; *dyfod i gadw pechaduriaid,* 1 *Tim.* 1. 15.—*i gadw yr hyn a gollasid,* *Luc* 19. 10.—*dyfod fel y caent fywyd,* *Ioan* 10. 10.—*fel na choller,* *Ioan* 3. 16.—*wedi ei osod yn iawn—ei anfon i fod yn iawn dros ein pechodau—fel y byddem byw trwyddo ef,* *Rhuf.* 3. 25. 1 *Ioan* 4. 9, 10.—*ei waed wedi ei dywallt*

*dros lawer er maddeuant.* *Mat.* 26. 28. Mae yr enaid, trwy ffydd, yn gweled fod Crist wedi atteb diben ei ddyfodiad, ac yn myned atto am y pethau hyny. Crist, fel offeiriad a mechnïydd ydyw gwrthddrych neillduol ffydd, fel y mae cyfiawnhau trwyddi. Y mae yr enaid argyhoeddedig yn sefyll o flaen Duw, yn euog yn wyneb y gyfraith a chyfiawnder dwyfol; ond, *yn marw*, y mae trwy ffydd yn troi ei olwg at Grist, ac yn gweled ynddo ef y pethau, ïe, yr holl bethau sydd arno eisiau i sefyll o flaen yr orsedd. Ufudd-dod i'r gyfraith; boddlonrwydd i gyfiawnder; iawn dros bechod; ac, yn ganlynol, cyfiawnder i bechadur. Y mae golwg ffydd yn neillduol arno yn gorphen y gwaith ar y groes, *Ioan* 19. 30.—yn cael ei gyfiawnhau fel ein mechnïydd y trydydd dydd, 1 *Tim.* 3. 16.—ac yn cael derbyniad ar ddeheulaw y Tad. *Ioan* 16, 10. Y mae ffydd yn edrych arno yn myned, *trwy ei waed ei hun, unwaith i'r cyssegr, gan gael i ni dragywyddol ryddhad.* *Heb.* 9. 12. Mae y ffydd hon yn cael ei galw, *ffydd yn ei waed ef.* *Rhuf.* 3. 25.

IV. *Beth yw gweithrediadau neillduol ffydd yn y cyfiawnhad.*—Nid yw yn pwrcasu cyfiawnder, neu yn haeddu i'r dyn gael ei gyfiawnhau; oblegid *cyfiawnhau yn rhad trwy ras y mae Duw.* Nid cyfiawnder i'r pechadur yw y ffydd yma ychwaith; oblegid *trwy ufudd-dod un y gwneir llawer yn gyfiawn.* Etto, y mae ganddi waith:

1. Derbyn datguddiad o Grist a'i gyfiawnder: ni wel neb brydferthwch na thegwch yng Nghrist, na gwerth yn ei gyfiawnder, heb ffydd. *Esa.* 53. 1, 2. *Yn yr hwn, heb fod yr awr hon yn ei weled, ond yn credu, yr ydych yn mawr lawenhau.* 1 *Petr* 1. 8. *Ynddi hi* (sef yr efengyl) *y datguddir cyfiawnder Duw o ffydd i ffydd.* *Rhuf.* 1. 17. Er bod yr Efengyl yn datguddio cyfiawnder o drefniad Duw i gyfiawnhau pechadur trwyddo, nid oes ond ffydd a'i gwel y peth ydyw.

**2. Dyfod â'r pechadur i gymmeradwyo y cyfiawnder sydd yn cael ei ddal allan yn yr Efengyl, i ymwrthod â phob peth arall yn gyfiawnder, ac i ymostwng i'r cyfiawnder hwn, a dymuno ei feddiannu. *Esa.* 64. 6. *Rhuf.* 10. 3, 4. *Y'm cair ynddo ef, heb fy nghyfiawnder fy hun.* *Phil,* 3. 8, 9. *Dy gyfiawnder di yn unig a gofiaf fi.* *Ps.* 71. 16.**

3. Mae y pechadur, trwy gredu, yn troi ei wyneb at Grist, *Esa.* 45. 22.—yn edrych arno, *Heb.* 12. 2.—yn ffoi atto, *Heb.* 6. 18.—ac yn ei dderbyn ef, *Ioan* 1. 12.—a derbyn y cymmod trwyddo ef, *Rhuf.* 5. 11.—derbyn dawn cyfiawnder. *Adn.* 17. *Yn yr Arglwydd* (medd un) *y mae i mi gyfiawnder.* *Esa.* 45. 24. Mae y pechadur, trwy ffydd, yn derbyn Crist yn ol y cyhoeddiad o hono yn yr efengyl, ac yn dymuno sefyll ger bron Duw ynddo ef, a bod yn gyfiawn yn ei ufudddod ef. Mae y pechadur yn lled debyg i'r wraig a ddywedodd, *os cyffyrddaf â'i ddillad iach a fyddaf:* *Marc* 5. 28, 34. felly y mae ambell bechadur dan argyhoeddiad dwys, a Duw yn rhoi ffydd iddo, er na ŵyr efe mai ffydd yw, y mae yn gweled Iesu yn y dystiolaeth yn addas iddo, a'i gyfiawnder fel mechnïydd yn ddigon i'w guddio, er mor euog yw; y mae yn griddfan yn ddirgel, 'Pe cawn i ond ei gyfiawnder ef i sefyll ynddo ger bron Duw, cyfiawn a fyddwn!' yna mae Duw yn dywedyd wrth y cyfryw rai, megis Crist wrth y deillion gynt, *Yn ol eich ffydd bydded i chwi.* *Mat.* 9. 29. Bydded cyfiawnder Crist yn eiddo i chwi, edrychaf arnoch o hyn allan fyth yn gyfiawn ynddo; *cyfiawnder Duw ynddo ef.* 2 *Cor.* 5. 21. Fel y dywedodd Crist wrth y wraig honno, *Dy ffydd a'th iachâodd.* *Mat.* 9. 22. Nid ei ffydd a haeddodd, nac a roddodd iechyd, ond ffydd a fu yn foddion i fyned â hi at yr Iachawdwr, ac fel y credodd hi, y cafodd; felly am gyfiawnhau trwy ffydd, trwy ffydd mae y dyn yn dyfod i weled pa le y mae cyfiawnder i gyfiawnhau ei fath; ïe, y mae yn dyfod i'w hoffi, ac i ddymuno bod ynddo; ïe, yn ffoi at Grist, ac yn

ceisio ymestyn i ymaflyd ynddo. Y mae Duw yn cyfrif cyfiawnder Crist i'r cyfryw un, ac yn ei gyhoeddi yn gyfiawn yn llŷs y nef; y mae hefyd yn cael ei gyhoeddi yn gyfiawn trwy y Bibl oll: yn raddol cyhoeddir ef yn gyfiawn yn llŷs y gydwybod.

4. Y mae gwir ffydd yn dyfod â'r enaid i ymorphwys ar Grist, a'i gyfiawnder ef. Yn wyneb ei holl ofynwyr, y mae yn gallu edrych ar yr orsedd yn y cyfiawnder yma. *Ps.* 17. 15. Yn yr ôlwg gyntaf ar y cyfiawnder hwn, y mae yr enaid yn gallu gwaeddi allan o flaen Duw, *Y mae gyda thi faddeuant. Ps.* 130. 4. *Pwy a ŵyr na thrugarhâ yr Arglwydd?* Yna dywed, fel Esther ar achos arall, *Af i mewn at y brenhin, ac os derfydd am danaf, darfydded.* Ni laddwyd neb erioed wrth fyned at Dduw trwy Grist. Daw y credadyn, yn y man, i allu dywedyd, *Mi a wn i bwy y credais;* 1 *Tim.* 1. 12. ac yna i ofyn, *Pwy yw yr hwn sydd yn damnio? Rhuf.* 8. 33, 34. Gall *eistedd dan ei gysgod ef, Can.* 2. 3. *a bwytta ei gnawd ef,* ac *yfed ei waed ef, Ioan* 6. 53—56.—gwledda ar y llo pasgedig!

Er mai gweithred unwaith am byth yw cyfiawnhau pechadur o du Duw, etto, y mae ffydd gyfiawnhaol yn gweithredu yn y Cristion tra y byddo efe byw; *A'r cyfiawn a fydd byw trwy ffydd; Heb.* 10. 38.—*a'r hyn yr ydwyf yr awr hon yn ei fyw yn y cnawd, ei fyw yr ydwyf trwy ffydd Mab Duw. Gal.* 2. 20. Ar Grist, a'r hyn a wnaeth ac a ddioddefodd, y mae efe yn pwyso beunydd am gyfiawnder ger bron, a chymmeradwyaeth gyda Duw. Mae y ffydd hon yn cael ei galw, *gwerthfawr ffydd,* 2 *Petr* 1. 1.—*rhodd Duw, Eph.* 2. 8.—*ffydd gweithrediad Duw, Col.* 2. 12.—*a ffydd etholedigion Duw, Tit.* 1. 1. Ni chollir yr un o'i pherchennogion byth.

Cymmwysiadau.—1. Dychryned y rhai di-ffydd; y mae eu cyflwr yn druenus iawn; y mae eu holl bechodau arnynt, a byddant feirw yn eu pechodau os byddant feirw heb ffydd,

*Ioan* 8. 24. Y maent dan felldith a choll-farn, a digofaint Duw arnynt. *Ioan* 3. 18, 36.

2. Ymofyned pawb am ffydd, a disgwyliant yn ddyfal am dani, yn y moddion a drefnodd Duw i'w rhoddi, sef trwy glywed yr Efengyl. Er fod yn ddyledswydd ar bawb a'i clywo, gredu gwirionedd Duw, a chredu y dystiolaeth a dystiolaethodd efe am ei Fab, ac na chollir pwy bynnag a gredo; etto, y mae gelyniaeth dyn yn erbyn Duw a Christ, a threfn iachawdwriaeth, a'i dywyllwch am y gwirionedd, a'i egwyddor ddeddfol y fath, na chred ef byth o hono ei hun. Rhaid cael rhagorol fawredd nerth Duw i ddyfod a dyn i gredu yng Nghrist. *Eph.* 1. 19. *Esa.* 53. 1.

3. Gocheled pob dyn ymfoddloni ar gau ffydd: y rhai sydd yn proffesu bod ganddynt ffydd, profant hi yn wyneb arwyddion gwir ffydd yn y gair dwyfol, megis y rhai a ganlyn: 1. Lle y mae gwir ffydd, y mae Crist yn werthfawr gan yr enaid, *yn wyn a gwridog, yn rhagori ar ddeng mil, oll yn hawddgar, Can.* 5. 10, 16. *I chwi y rhai ydych yn credu y mae yn urddas.* 2 *Petr* 2. 7.——2. Y mae gwir ffydd yn puro y galon. *Act.* 15. 9. Y mae hi o natur nefol bur, ni theyrnasa pechod lle y byddo hi.——3. Y mae *hi yn gweithio trwy gariad, Gal.* 5. 6. a gweithredoedd da yn ffrwyth arni, ac yn profi ei bod lle y mae hi. *Iago* 2. 18.——4. Y mae hi yn codi yr enaid uwch y byd at bethau ni welir; ac felly, yn gorchfygu y byd yn ei wên a'i wg. 1 *Ioan* 5. 4, 5.

## IX. *Am Ragorfreintiau y rhai a gyfiawnhawyd.*

Y MAE cyfiawnhad ger bron Duw, yn rhagorfraint ynddi ei hun, na ellir amgyffred ei mawredd na'i gwerth byth. Pechadur euog yn cael ei ryddhau oddiwrth y goll-farn, cael maddeuant o'i holl bechodau, Duw *yn eu cuddio, yn eu taflu*

*i ddyfnderoedd y môr, ac o'r tu ôl i'w gefn;* peidio cyfrif pechod i'r pechadur, ac addaw peidio eu cofio mwyach; tynnu ymaith ei ddig oddiwrth y pechadur, a'i lwyr waredu oddiwrth felldith y ddeddf: ac nid hynny yn unig, ond ei gyfrif yn gyfiawn; ïe, yn gyfiawnder Duw yng Nghrist. 2 *Cor.* 5. 21. Cymmeradwyo ei berson yn yr Anwylyd; *Eph.* 1. 6. a'i dderbyn yn *gyfaill Duw.* *Iago* 2. 23. Y mae efe mewn undeb â Christ, a hawl ganddo i fywyd tragywyddol: *y mae ganddo fywyd tragywyddol.* *Ioan* 3. 36. *Yr hwn y mae y Mab ganddo, y mae y bywyd ganddo.* 1 *Ioan* 5. 12. Heblaw y fraint ammhrisiadwy hon ynddi ei hun, y mae eu cyfiawnhau megis wedi agor y ffordd iddynt i bob rhagorfreintiau eraill, na ellir dywedyd eu rhif na'u gwerth: *Ni welodd llygad, ac ni chlywodd clust, ac ni ddaeth i galon dyn y pethau a ddarparodd Duw i'r rhai a'i carant ef.* 1 *Cor.* 2. 9. Y maent wedi cael newid cyflwr, a newid teyrnas, yn barod; *ac o feddiant satan at Dduw.* *Act.* 26. 18. *Y Tad wedi eu gwaredu hwy o feddiant y tywyllwch, a'u symmud i deyrnas ei anwyl Fab.* *Col.* 1. 12, 13. Ni a geisiwn enwi rhai o'r rhagorfreintiau sydd yn perthyn i'r rhai a gyfiawnhawyd.

1. *Heddwch â Duw.* Ni ellir adrodd byth werth y ragorfraint hon, y mae *tangnefedd Duw uwchlaw pob deall.* *Phil.* 4. 7. Y mae pechod wedi peri rhwyg ac ymrafael rhwng dynion a Duw. Dynion, yn eu llygredd a'u pechodau, yn elynion i Dduw; *pan oeddym elynion,* *Rhuf.* 5. 10.—*gelynion mewn meddwl,* *Col.* 1. 21.—*syniad y cnawd yn elyniaeth yn erbyn Duw.* *Rhuf.* 8. 7. Y mae Duw, yn ei burdeb a'i gyfiawnder, yn elyn i bechadur; *Duw sydd ddigllon beunydd wrth yr annuwiol.* *Ps.* 7. 11. *Y mae yn gas gan ei enaid ef y drygionus.* *Ps.* 11. 5, 6. Y mae eu ffordd, ïe, y mae eu haberthau yn ffiaidd gan yr Arglwydd. *Diar.* 15. 8, 9. Y mae melldith a choll-farn arnynt. *Gen.* 2. 17. *Gal.* 3. 10. Byddai yn gyfiawn i Dduw dalu cystudd iddynt; 2 *Thes.* 1. 6.

y maent yn *haeddu marwolaeth*, *Rhuf.* 1. 32.—*y maent wrth naturiaeth yn blant digofaint*, *Eph.* 2. 3. a thra byddont heb gredu yng Nghrist, *y mae digofaint Duw yn aros arnynt. Ioan* 3. 36. Ni ellir amgyffred byth mor ofnadwy yw digofaint Duw! *Y mae digofaint y brenhin megis cennad angau, Diar.* 16. 14. *a llid y brenhin megis rhüad llew. Diar.* 19. 12. Ond beth a fyddai llid holl ddynion y byd wrth ddigofaint Duw? Y mae Duw yn lanach ei lygaid nag y gall edrych ar anwiredd. *Hab.* 1. 13. Ni all fod mewn heddwch â neb, heb dynnu ymaith y pechod o'i gyfrif; ond yn y cyfiawnhad, y mae Duw yn tynnu ymaith y pechod, yn peidio a'i gyfrif, yn cymmodi y pechadur âg ef ei hun, heb gyfrif ei bechod iddo; ac yn cyfrif iddo gyfiawnder, sef ufudd-dod perffaith Crist; yna y mae Duw yn troi ei ddig oddiwrth y pechadur sydd yn derbyn y cymmod, ac yn dywedyd yn effeithiol wrtho, *Nid oes lidiawgrwydd ynof.* Yna, y mae y cleddyf yn cael ei gadw, a'r cymmylau tywyll yn cael eu gwasgaru, a'r pechaduriaid a gyfiawnhawyd yn gallu dywedyd, *A ni wedi ein cyfiawnhau trwy ffydd, y mae gennym heddwch tu ag at Dduw, trwy ein Harglwydd Iesu Grist. Rhuf.* 5. 1.

2. *Heddwch cydwybod.* Y mae cydwybod y dyn sydd heb ei gyfiawnhau, yn cysgu, yn cam-farnu, neu yn cyhuddo beunydd; nis gall fod yn heddychol ond mewn angof am Dduw, a'i gyfraith, a phechod, a'r farn; neu gam-farn am danynt: felly, ni ddeil yr heddwch sydd gan yr anghredadyn, wrth farw, pan y gorfyddo wynebu Duw mewn barn. Ond y mae gan y rhai sydd wedi eu cyfiawnhau, heddwch sydd yn dal yn wyneb y meddyliau mwyaf difrifol am sancteiddrwydd a chyfiawnder Duw, purdeb y gyfraith, mawr ddrwg pechod, a'i haeddiant. Y mae ganddo heddwch sydd yn parhau yn wyneb hyn oll: *Gwaed Crist yn puro y gydwybod, Heb.* 9. 14. *gwaed y taenelliad yn dywedyd pethau gwell na'r*

*eiddo Abel. Heb.* 12. 24. Pan gwel y gydwybod bod Duw wedi cael aberth difai, a bod y pechadur wedi derbyn y cymmod, y mae hi yn dawel.

3. *Dyfodfa at Dduw.* Nid oes gan y pechadur sydd heb ei gyfiawnhau fodd i nesâu at Dduw mewn un amgylchiad. Y mae Duw ar orsedd cyfiawnder, ac yntau yn ei bechodau; Duw yn dân ysol, ac yntau yn soflyn sych. Nid oes neb yn dyfod at y Tad ond trwy Grist. *Ioan* 14. 6. Ond yr hwn sydd wedi ei gyfiawnhau trwy ffydd, y mae iddo ddyfodfa. *Rhuf.* 5. 2. Y Crist, yr hwn y credasant ynddo, wedi *myned trwy ei waed ei hun, unwaith i'r cyssegr, gan gael i ni dragywyddol ryddhad. Heb.* 9. 12. Gall y rhai hyn nesâu *yn hyderus at orseddfaingc y gras. Heb.* 4. 16. *Y mae i ni hyfdra a dyfodfa trwy ei ffydd ef. Eph.* 3. 12.

4. *Gorfoledd a chysur ysprydol.* Nid fel cysur a llawenydd yr annuwiol, yr hwn sydd fyrr a diflannedig, a thrallodau, ac angau yn enwedig, yn rhoi diwedd arno. Ond *cysur cryf* y mae y rhai sydd yn ffoi at Grist yn ei gael. *Heb.* 6. 18. *Diddanwch yr Yspryd Glân, Act.* 9. 31.—*llawenydd mawr, Luc* 2. 10.—*llawenydd annhraethadwy,* 1 *Petr* 1. 8.—*gorfoleddu dan obaith gogoniant Duw—gorfoleddu mewn gorthrymderau—a gorfoleddu yn Nuw, trwy Iesu Grist. Rhuf.* 5. 2, 3, 11. Pwy a all feio ar eu gorfoledd, wedi cael maddeu yr holl bechodau, tynnu y goll-farn, symmud y felldith, a chael Duw yn Dad, a chael gobaith gogoniant tragywyddol?

5. *Gobaith da trwy ras.* Ar ol colli eu gobaith gau, a fu yn eu cadw yn dawel flynyddoedd, mewn cyflwr drwg, bu hwn farw *pan ddaeth y gorchymyn;* ond cawsant obaith gwell, *gobaith ni chywilyddia, Rhuf.* 5. 5.—*Crist ynddynt gobaith y gogoniant, Col.* 1. 27.—gobaith bod yn bur. 1 *Ioan* 3. 3.

6. *Cael profedigaethau a phethau chwerwon heb niwed,* croesau a gorthrymderau wedi tynnu eu gwenwyn a'u colyn—gallant ddywedyd, *Mai da iddynt gael eu cystuddio;* ac, *ein*

*hyrr ysgafn gystudd ni, sydd yn odidog ragorol, yn gweithredu tragywyddol bwys gogoniant i ni.* 2 *Cor.* 4. 17. *Ac ni a wyddom fod pob peth yn cyd-weithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw. Rhuf.* 8. 28. Bydd pethau chwerwon yn foddion i'w diddyfnu o'r byd, i'w glanhau, a'u nesu at Dduw.

7. *Mae y seiliau cryfaf i feddwl parhau byth yn y cyflwr cyfiawn hwnnw.* Buasai yn ddiffyg mawr yn nedwyddwch eu cyflwr, feddwl fod perygl myned o hono, a cholli dedwyddwch drachefn. Yr hwn sydd yn credu, a *gaiff fywyd tragywyddol, ac ni ddaw i farn, Ioan* 5. 24.—*na chollwn ddim o hono, Ioan* 6. 39.—*ni ddwg neb hwynt allan o'm llaw i, Ioan* 10. 28. 29.—*Duw yw yr hwn sydd yn cyfiawnhau; pwy yw yr hwn sydd yn damnio? Rhuf.* 8. 33, 34.—*diedifarus yw doniau a galwedigaeth Duw, Rhuf.* 11. 29.—*mwy ynte, o lawer, a nyni yn awr wedi ein cyfiawnhau trwy ei waed ef, y'n hachubir rhag digofaint trwyddo ef. Rhuf.* 5. 9.

8. *Cael profi cariad Duw.* Y mae Duw yn rhoddi datguddiad a phrofiad o'i gariad i'r rhai a gyfiawnhawyd. *Nyni a adnabuom ac a gredasom y cariad sydd gan Dduw tu ag attom ni,* 1 *Ioan* 4. 16.—*am fod cariad Duw wedi ei dywallt yn ein calonnau ni trwy yr Yspryd Glân. Rhuf.* 5. 5. Cael cymdeithas âg ef; *ein cymdeithas ni yn wir sydd gyd â'r Tad, a chyd â'i Fab ef, Iesu Grist.* 1 *Ioan* 1. 3. A'm Tad a'i *câr yntau, a nyni a ddeuwn atto, ac a wnawn ein trigfa gyd âg ef. Ioan* 14. 23.

9. *Cânt farw yn ddedwydd.* Caiff pechaduriaid, wedi eu cyfiawnhau, fuddugoliaeth ar angau a'r bedd. *Angau, pa le y mae dy golyn?* 1 *Cor.* 15. 55. Ni all angau *ein gwahanu ni oddiwrth gariad Crist. Rhuf.* 8, 38. 39.

X. *Nid yw y rhai a gyfiawnhawyd yn byw dan lywodraeth pechod; ond y maent oll yn cael eu sancteiddio, ac yn cael eu dysgu a'u tueddu i fyw i Dduw, wrth reol y ddeddf.*

Y MAE athrawiaeth yr Efengyl, yn ei hamrywiol ganghennau, yn cael ei chyhuddo gan y byd ym mhob oes, o fod yn arwain i benrhyddid: ond nid gwir yw hynny; ond enllib ar athrawiaeth gras y maent hwy yn geisio roi. Dywedodd ei elynion am Grist, mai dyn glwth, ac yfwr gwin oedd efe; ond ei gasâu a'i erlid ef a wnaethant yn ddiachos: felly ei athrawiaeth ef, y mae hi yn cael ei herlid yn ddiachos; oblegid hi yw yr unig athrawiaeth sydd yn arwain i wir sancteiddrwydd calon a buchedd. Y mae hi yn dwyn iachawdwriaeth i bob math o ddynion sydd yn ei derbyn; y mae hi yn eu hiachau, eu trefnu, a'u puro; y mae hi *yn ein dysgu ni i wadu annuwioldeb, a chwantau bydol; a byw yn sobr, yn gyfiawn, ac yn dduwiol yn y byd sydd yr awr hon. Tit.* 2. 11, 12. Y mae yn wir fod athrawiaeth yr Efengyl yn dangos fod iachawdwriaeth pechaduriaid o gariad a gras Duw yn unig a hollol: ond y mae *gras yn teyrnasu trwy gyfiawnder i fywyd tragywyddol. Rhuf.* 5. 21. Er fod iachawdwriaeth yn hollol o ras, y mae cael y gwrthddrychau yn sanctaidd, wedi ei gylymmu â'r holl drefn: *Ethol,* fel y byddent yn sanctaidd, *Eph.* 1. 4.—*prynu,* i'w puro, *Tit.* 2. 14. —*galw,* i sancteiddrwydd. 2 *Tim.* 1. 9. 1 *Petr* 1. 15. Rhyddhau oddiwrth bechod, a gwneuthur yn weision i Dduw, yna mae *y ffrwyth yn sancteiddrwydd. Rhuf.* 6. 22. Argyhoeddi a dwyn pechaduriaid i *farw i'r ddeddf,* fel y byddent *byw i Dduw, Gal.* 2. 19. *fel y dygem ffrwyth* i Dduw, *Rhuf.* 7. 4. Ie, nid oes neb yn dwyn ffrwyth i Dduw, ond y rhai sydd wedi meirw i'r ddeddf; ac mae yr holl rai sydd wedi marw i'r ddeddf, yn pwyso ar *yr hwn yw diwedd y ddeddf er cyfiawnder,* am gyfiawnder i sefyll ynddo ger bron Duw. Ond er eu bod yn cael

eu gwared trwy Grist oddiwrth felldith y ddeddf, fel yr oedd hi yn sefyll yn y cyfammod gweithredoedd, ac wedi marw, o ran ceisio bywyd na chyfiawnder trwyddi; etto, *y maent dan y ddeddf i Grist*, 1 *Cor.* 9. 21. ïe, mae y ddeddf wedi cael ei hysgrifennu yn eu calonnau, *Heb.* 8. 10. ac felly y maent yn ei pharchu yn llawer mwy, fel rheol i'w holl ymddygiad tu ag at Dduw a dynion: yr ydym trwy ffydd *yn cadarnhau y ddeddf. Rhuf.* 3. 31. Heblaw hynny, er fod Duw yn cyfiawnhau pechadur *trwy ras*, a thrwy *ufudd-dod un;* etto, *cyfiawnhau trwy ffydd y mae;* ac mae y ffydd hon yn *puro y galon*, *Act.* 15. 9. ffydd fywiol ydyw, y mae ffrwythau sanctaidd arni, y mae hi yn ei dangos ei hun trwy weithredoedd yn y man y mae hi. *Iago* 2. 18, 22. Ac er fod ffydd yn edrych ar Grist fel *Offeiriad*, ac yn pwyso ar ei ufudd-dod gweithredol a dioddefol am dderbyniad a chymmeradwyaeth i'r pechadur gyda Duw, a thyna yw ei gwaith yn y cyfiawnhad, derbyn Crist fel *yr Arglwydd ein cyfiawnder;* etto, y mae hi yn derbyn Crist yn ei holl swyddau; nid yw ffydd am rannu Crist: mae y credadyn yn derbyn Crist fel *Prophwyd a Brenhin*; yn gwrando ei athrawiaeth, ac yn ymostwng i'w lywodraeth. Y mae yn beth ynfyd ac afresymol meddwl, fod golwg ar gariad a gras Duw, fel y cynhyrfiol achos o iachawdwriaeth, yn llenwi dyn â mwy o elyniaeth at Dduw a'i gyfraith sanctaidd; neu, fod golwg ar Grist, wedi myned i'n lle fel mechnïydd, cymmeryd ei wneuthur yn bechod trosom, dioddef y gospedigaeth deilwng i'n pechodau, rhoi iawn, a gwneuthur cyfiawnder perffaith i ni, yn peri i ni garu y pechodau y dioddefodd ef gymmaint drostynt, a dibrisio y ddeddf y gwnaeth ac y dioddefodd ef gymmaint i'w mawrhau! Ond nid felly y mae; eithr y mae golwg trwy ffydd, ar gariad a gras Duw, ar fywyd ac angau Crist, digonolrwydd yr iawn, perffeithrwydd y cyfiawnder, cyflawnder yr iachawdwriaeth, &c. yn llenwi yr enaid â chariad at Dduw, ac awydd byw iddo, a'i ogoneddu

ef; ac â chasineb at bechod, galar a chywilydd o'i blegid, ac awydd bod yn lân oddi wrtho. Y mae yn wir y gall athrawiaeth gras gael ei cham-ddefnyddio gan rai nad ydynt yn ei chredu, nac yn gweled ei gogoniant, nac yn profi ei rhinwedd. Y mae rhai yn *troi gras ein Duw ni i drythyllwch*, neu yn ceisio troi athrawiaeth gras yn achlysur i drythyllwch, *Judas* 4. ond annuwiolion ydynt. Gall dynion hefyd broffesu eu bod yn gyfiawn ger bron Duw, trwy gyfiawnder Crist, trwy ffydd, a byw yn ddirinwedd; ie, byw mewn pechodau; ond rhagrithwyr ydynt, a *gelynion croes Crist*, *Phil.* 3. 18, 19.—*dynion ofer —crefydd ofer—ffydd farw.* *Iago* 1. 26. a 2. 20. *Na thwylled neb chwi, yr hwn sydd yn gwneuthur cyfiawnder sydd gyfiawn.* 1 *Ioan* 3. 7. Ni all y rhai sydd wedi eu cyfiawnhau yn rhad, trwy gyfiawnder Crist, fyw mewn pechod; oblegid,

1. Y maent wedi eu huno â Christ, ac yn derbyn gras o'i gyflawnder ef. Aelodau ydynt yn ei gorph. A gymmerir aelodau Crist yn arfau anghyfiawnder i bechod? Na atto Duw. 1 *Cor.* 6. 15, 19. Canghennau ynddo ef, fel gwir winwydden ydynt. *Ioan* 15. 5, 8. Y maent yn derbyn modd i ddwyn ffrwyth da o hono ef. Y mae y pren yn cael ei wneuthur yn dda, pan unir y pechadur â Christ; yna, y mae yn naturiol dwyn ffrwyth da. *Mat.* 7. 17, 18. *Y maent wedi eu creu yng Nghrist Iesu, i weithredoedd da.* *Eph.* 2. 10.

2. Nid arglwyddiaetha pechod arnynt, oblegid nid ydynt dan y ddeddf, eithr dan ras. *Rhuf.* 6. 14. Gan eu bod yng Nghrist, pen y cyfammod gras, y mae eu pechodau wedi cael eu maddeu, ac ni chânt lywodraethu, er y bydd pechod ynddynt, yn eu poeni tra y byddont yn y byd—ni chaiff deyrnasu. Ni bydd Crist na gras yn gyfrannog yng ngorsedd y galon â neb. Pan y delo efe i mewn, cyll yr hen lywodraethwyr eu llywodraeth.

3. Y mae pechod yn cael ei groeshoelio yn y Cristion; *croeshoelio ein hen ddyn ni gyd âg ef.* *Rhuf.* 6. 6. *Y rhai sydd*

*eiddo Crist a groeshoeliasant y cnawd, a'i wyniau a'i chwantau.* *Gal.* 5. 24. Y maent hwythau wedi marw i bechod, *1Thes.* 6. 2. *pa fodd y byddant byw etto ynddo ef?*

4. Y mae y rhai a gyfiawnhawyd yn cadw y gorchymynion, o gariad at Dduw a Christ. *Ioan* 14. 15, 23. 1 *Ioan* 5. 2, 3. Nid yw y gorchymynion yn drymion gan y rhai a gyfiawnhawyd. Buont hwy yn sefyll yn euog yn eu pechodau o flaen yr orsedd; carant y dadleuwr byth, yr hwn a gymmerodd eu hachos, ac a lwyddodd yn y llys drostynt; carant y barnwr a'u cyhoeddodd hwynt yn rhydd; casânt bechod byth, ar ol cael golwg mor atgas arno, o flaen yr orsedd bur, ger bron y barnwr cyfiawn. Felly, o gariad at Dduw, a chasineb at bechod, y maent am fyw yn sanctaidd yn y byd; *yn ymarfer i gael cydwybod ddiwystr tu ag at Dduw a dynion yn wastadol.* *Act.* 24. 16.

5. Y mae y rhai a gyfiawnhawyd, yn ymestyn at berffeithrwydd. Er fod Paul yn pwyso ar gyfiawnder un arall, am fod yn gyfiawn ger bron Duw, etto, o ran sancteiddiad, yr oedd yn dilyn, yn ymestyn, ac yn cyrchu at berffeithrwydd, am gyrhaeddyd y perffeithrwydd a fydd yn y saint yn yr adgyfodiad. *Phil.* 3. 9—14. Y rhai sydd yn disgwyl bod yn gyffelyb i Grist pan ymddangoso efe, y maent yn hiraethu, ac yn ymdrechu am gael bod yn fwy tebyg iddo yma. *Ac y mae pob un sydd ganddo y gobaith hwn ynddo ef, yn ei buro ei hun, fel y mae yntau yn bur.* 1 *Ioan* 3. 3. Felly, profwyd yn amlwg, nad yw athrawiaeth yr Efengyl yn erbyn sancteiddrwydd; ond, i'r gwrthwyneb, yn effeithiol i sancteiddio—*athrawiaeth yn ol duwioldeb* ydyw—ac nad yw y rhai a gyfiawnhawyd trwy gyfiawnder Crist, yn byw mewn pechod; ond y maent yn cael eu sancteiddio yn sicr; sicrhawyd hynny iddynt yn eu cyfiawnhad.

Ddarllenydd, os ydwyt, ar ol darllen hyd yma am y ffordd i gyfiawnhau pechadur ger bron Duw, yn dy deimlo dy hun yn

ddiofal a didaro ynghylch dy gael yng Nghrist, cofia, nad oes le i guddio dy enaid euog, ond dan aden Crist, ac yn ei gyfiawnder gwerthfawr; daw *cenllysg i ysgubo holl nodd-feydd celwydd;* nid oes a wared rhag angau ond bod yng Nghrist, ac yn ei gyfiawnder ef. Er dy fod yn diangc yn awr, bydd rhaid i tithau, yn fuan, ymddangos ger bron Duw; ni bydd modd dy guddio rhag gwarth a dirmyg tragywyddol, os na byddi di wedi dy wisgo â'i gyfiawnder ef.

Y rhai a gyfiawnhawyd, rhyfeddwch ras Duw yn trefnu; gras Crist yn gweithio ac yn gorphen; a gras yr Yspryd yn amlygu a pesâu y fath gyfiawnder perffaith i bechadur euog noeth.

*I Dduw pob gras*, i'r *Arglwydd ein cyfiawnder*, a'r *Yspryd* sydd yn *argyhoeddi* o gyfiawnder, y TRI yn UN Duw tragywyddol, y byddo y gogoniant. *Amen.*

---

DIWEDD.

---

## GWALLAU YR ARGRAFF-WASG.

Tu dal. 12, llin. 4 o'r gwaelod, yn lle *â gair*, darllen *â gair Duw*.

Tu dal. 13, llin. 5 o'r gwaelod, yn lle *ein*, darllen *a'm*.

Tu dal. 18, llin. 2 o'r gwaelod, yn lle *mai*, darllen *bai*.

Tu dal. 64, llin. 11 o'r gwaelod, yn lle *ddigwyddiadau*, darllen *ddiwygiadau*.

Bala, argraffedig gan R. Saunderson.

